daeth Mr. Owen, ei brïod, a'i unig ferch, i'r gegin, a Bibl Mawr Peter Williams dan ei gesail, i gadw dyledswydd cyn i bawb fyned i orphwys. Llawenychodd yr amaethwr yn fawr pan glywodd am benderfyniad Owen a Sion. Wedi darllen pennod, rhoddodd yr hen benill hwnw i ganu—

"O estyn eto i barhau
Dy drugareddau tirion."

"Yrwan, Huw, dos i weddi, was," ebe'r amaethwr. Gweddiodd ein harwr yn daerach nag arfer y noson hono, heb anghofio ymbil ar ran y ddau lanc.

---

## PENNOD XII.

"Fel dyfroedd oerion i enaid sychedig, yw newydd da o wlad bell."
SOLOMON.

Bore dranoeth, synwyd Huw wrth gael ei hysbysu fod llythyr yn y ty, wedi ei gyfeirio iddo ef, o'r America. Aeth i mewn i'w geisio. Gwelodd fod sel ddu arno, a'i fod wedi trafaelio o bost i bost yn Mon, gan nad oedd wedi ei gyfeirio i'r Plas Uchaf, eithr i gartref cyntefig William Huws.

Agorodd Huw y llythyr yn frysiog, ac yr oedd ei law fawr, gyrniog, galed, yn crynu wrth dori'r sel, canys yr oedd yn beth mor annghyffredin cael llythyr o'r America ac yr oedd y sel ddu yn peri i'r llanc deimlo pryder anesponiadwy. Darllenodd Huw'r llythyr, a gwelodd Mr. Owen, yr hwn oedd yn yr ystafell, fod y cynwysiad, gan nad beth oedd, yn cyffroi Huw yn angerddol. Gofynodd iddo—"Yr wyf yn gobeithio nad oes dim newydd drwg, Huw? Os nad oes rhywbeth rhy breifat yn y llythyr, a gaf fi ofyn beth yw'r newydd?"

Yr oedd Huw yn rhy gyffroedig i ateb, ond efe a estynodd y llythyr i'w feistr, yr hwn hefyd a ddangosodd arwyddion o syndod wrth ddarllen yr hyn a ganlyn:—

"——America,——

"Huw Huws,—Fy anwyl Fab Bedydd,—

Y mae'n sicr mai prin yr wyt ti yn cofio dim am danaf. Y mae blynyddoedd lawer er pan adewais wlad fy ngenedigaeth; nid oeddit ti ond hogyn bach y pryd hwnw, ac, os wyt ti wedi cael bywyd ac iechyd, y mae'n rhaid dy fod yn ddyn mawr erbyn hyn. Yr oedd genyf fi feddwl uchel am danat hyd yn nod pan oeddit yn blentyn, a phenderfynais,

os byth y casglwn I dipyn o gyfoeth, y gwnawn rywbeth drosot ti. Fi oedd dy Dad Bedydd; ac er na fedrais I gyflawni, tuag atat, yr addunedau a wnaethym yn y Bedydd, eto, yr wyf wedi parhau i feddwl am danat a gweddio drosot. Yn awr, y mae fy oes yn tynu tua'i therfyn; yr wyf yn gorwedd dan glefyd angeuol, ac nid oes genyf ond ychydig ddyddiau eto i fyw. Buaswn yn ddedwyddach pe'n gallu gwneud mwy drosot, cyn fy myned ac na byddwyf mwy: ond ni fu fy llwyddiant yn y wlad yma yn llawn cymaint ag y dysgwyliais. Er hyny, y mae genyf dipyn o arian wedi eu rhoi heibio i ti, a dyma fi, yn awr, yn danfon awdurdod i ti i fyned i Ariandy Bangor i'w codi—Tri Chant o Bunnau yw'r swm. Gobeithiaf y byddant o gynorthwy parhaol a bendithiol i ti, pa un bynag ai priod a'i sengl ydwyt. Ac yr wyf yn hyderu ar Dduw dy fod wedi dy seilio yn egwyddorion crefydd, fel na fydd y tipyn swm yma yn demtasiwn nac yn niwed yn y byd i ti.

"Os yw dy rieni hefyd yn fyw, dyro fy serch a'm cofion iddynt. Byddaf fi wedi myned Adref, i'r lle nad oes na gofid na galar, na phoen na gwae, na phechod na thristwch, cyn y daw hwn i dy law di. Ydwyf, anwyl Huw, gyda gweddi ddwys dros dy gysur tymhorol a'th gadwedigaeth dragywydddol, "Dy Dad Bedydd,

"Harry Parry

"Gynt o'r Ty Coch."

"Huw!" ebe Mr Owen, "dyma brawf newydd o ofal Rhagluniaeth. Dydd Llun nesaf yr wyt am fyned i Lerpwl ac un neges genyt fydd ymholi i sefyllfa dy deulu, y rhai sydd mewn tlodi. Ac yn awr, dyma Ragluniaeth wedi dy gynysgaeddu â moddion i'w cael yn ol, ac i ddarbod ar gyfer eu cysur rhagllaw; os nad wyt yn bwriadu gwneud rhywbeth arall â'r Tri Chan' Punt?"

"*Rhywbeth arall*, syr!—Na, na, yr wyf, fel chwithau yn gweled, ac yn dymuno cydnabod Llaw Duw yn yr amgylchiad annysgwyliedig yma. A ydych chwi'n meddwl y gallaf gael yr arian cyn cychwyn i Lerpwl, syr?"

"O, gelli'n sicr. Y mae'r awdurdod yna yn ddigon i ti eu codi heddyw, os myni. Ti gei fyned i Fangor i'w ceisio yfory; ac mi roddaf fenthyg y gaseg felen i ti fyned yno."

"Diolch yn fawr i chwi, syr; ond gwell genyf fyned ar fy nhraed. Buasai'n falch genyf gael benthyg y gaseg, oni bai mai myned i nol ffortiwn yr ydwyf; a gwell genyf gerdded rhag ofn i mi gael fy nhemtio i ymfalchio ac anghofio fy hun."

"Purion. Un òd wyt ti. Ond ti wnei'r tro. Y mae'r yspryd gostyngedig yna'n sicr o gael ei wobrwyo. Duw a'th fendithio. Yrwan, nid oes eisiau i ti wneud dim rhagor heddyw. Dos i drefnu dy bethau dy hun ar gyfer myned i Fangor yfory, ac ar gyfer dy fordaith i Lerpwl ddydd Llun."

---

## PENNOD XIII.

*"Ymguddiwn yn erbyn y gwirion yn ddiachos,"*
SOLOMON.

*"Cloddiodd bwll, a syrthiodd yn y clawdd a wnaeth."*
DAFYDD.

Aeth y son, fel tân gwyllt, o Fynydd Bodafon i Fynydd Eilian, ac o Bentraeth i Draeth Dulas, "fod Huw Huws, gwas Plas Uchaf, yn myn'd i gael ffortiwn fawr, ac y byddai ef yn fuan gyn gweuthocced â Syr Richard Bwcle."

Bore ddydd Sadwrn a ddaeth, a bore garw ydoedd. Yr oedd curwlaw'n ymarllwys, a'r gwynt yn cythru, a'r cymylau'n brochi.

Cychwynodd Huw yn fore iawn, tua haner awr cyn toriad y dydd, hefo cleiffon onen braff yn ei law. Yr oedd yn adnabod y ffordd yn dda, a cherddodd trwy lwybrau ceimion, creigiog, ac anhygyrch Llanallgo a'r Marian Glas fel un yn penderfynu gwneud y defnydd goreu o'i nerth.

Yn mhen tuag awr wedyn, yr oedd dau ddyn arall yn cychwyn tua'r un cyfeiriad, gyda'u ffyn *hwythau* dan eu ceseiliau, a'u cotiau yn cau'n dýn am eu gyddfau, a'u hetiau wedi eu tynu i lawr at eu llygaid, fel pe buasent yn awyddus rhwystro i neb eu hadnabod. Cerddasant yn ochelgar, gan fyned ar hyd dau lwybr gwahanol, ac ni wyddai y naill ddim byd am y llall. Ond ar ben y Marian Glas, gwelodd yr olaf o'r ddau fod rhyw ddyn yn myned o'i flaen. Edrychodd hwnw hefyd o'i ol, a gwelodd yntau fod rhywun yn dyfod yr un ffordd ag ef. Parhaodd y ddau i gerdded; a gallesid gwybod, wrth sylwi ar gildremiad mynych y blaenaf o'r ddau, i edrych a oedd y llall yn ei ddilyn, a'i reg isel, rwgnachlyd, bob tro y gwelai efe ef, nad oedd ei ddyben yn un gonest. O'r diwedd, cyrhaeddodd y dyn blaenaf groesffordd, lle'r oedd llwybr yn tori ar draws y caeau; ac efe a aeth ar hyd y llwybr hwnw, a'r dyn arall ar hyd y ffordd. Felly, collasant olwg ar eu gilydd.

'Wyddost ti beth, Twm, mae arnaf fi ofn na ddaw o ddim, heno. F'allai fod yr arian mawr yma wedi dychrynu ei grefydd o i gyd allan o hono, a'i fod o wedi myn'd ar 'i sbri."

"F'allai hyny, wir," ebe Twm Dafydd. "Ond beth os ydi o wedi cym'ryd ffordd Llansadwrn, ac i lawr y Traeth Coch, ffordd hono?"

"Reit siwr i ti! mi fedar groesi'r traeth heno—mae hi'n ddistyll trai rwan. Beth wnawn ni, dywed?"

"W'el, mae gin I blán."

"Gad 'i glywed o."

"Dyma fo: Mi wyddost fod Huw'n cysgu yn y lloft uwchben y Ty Tatws, heb neb yn cysgu'n agos ato fo. Mae o'n siwr o gadw'r arian hefo fo heno; a thua haner nos, beth fyddai haws nag i ni'n dau fyn'd ato fo, a gneud ysbryd, a'i ddychrynu o nes cael pob ffyrling? Ac os na fydd yr arian hefo fo yn y llofft, gallwn'i wneud o i ddeud ymh'le y mae nhw. Beth ddyliet ti?"

"Byth o'r fan yma!—mae o'n blan campus."

Cytunodd y ddau ar y cynllun; ac yna aethant ymaith.

Cododd Huw Huws ei ben trwy y twll yn y goeden, i edrych a oedd y ddau gymydog wedi myned, a phan welodd fod pob man yn glir, dechreuodd yntau dynu ei gynlluniau. Ac yn mhen enyd, cychwynodd drachefn, gan dori ar draws y caeau, rhag ofn dyfod o hyd i'w ddau "gyfaill." Cyrhaeddodd y Plas Uchaf. Neidiodd dros glawdd yr ardd, a llusgodd rywbeth trwm oddi yno, ac aeth ag ef i'r "Ty Tatws," yn llofft pa un yr oedd ef yn arfer cysgu.

Rhoddodd ei arian yn ngofal ei feistr, ac aeth i'w wely, a gofalodd am beidio barrio'r drws.

Wedi gorwedd am tua dwy awr, ac yn fuan ar ol i'r cloc daro haner nos, clywodd Huw y glicied yn cael ei chodi, a'r drws yn agor yn araf. Yna cerddediad ysgafn, araf, fel pe buasai rhywbeth, neu rywun, yn rhoi tri thro o gwmpas y llawr. Peidiodd y cerdded, a dyna lais dwfn, sobr, yn dywedyd—"Huw Huws!—Huw Huws!—Huw Huws! Yr wyt yn cymeryd arnat fod yn ddyn ifanc duwiol, ond yr wyt wedi gwerthu dy hun i'r cythraul! Y mae arian wedi dy ddamnio. Os na thafli di nhw o dy afael, cei fyn'd i uffern cyn y bore! A wyt ti'n clywed rhybudd o wlad yr ysprydion?"

Neidiodd Huw ar ei eistedd, gan agor ei enau a rhythu ei lygaid, i edrych gyn debyced ag y gallai i ddyn mewn braw ofnadwy; a gwelodd wrthddrych mawr yn sefyll wrth erchwyn y gwely—Sion Parri, gyda chap nos merch am ei wyneb, a dau dwll wedi eu tori yn nghoryn y cap, iddo

weled trwyddynt; a hen gynfas wen wedi ei thaflu dros ei ysgwyddau.

Gwaeddodd Huw—"O!—O!—beth a wnaf? Arbed fi, O Yspryd!—Arbed fi!"

"Gwnaf, os gwnei di roi'r arian yna i mi!"

"O! cymer nhw—cymer nhw—arbed fy mywyd!"

"P'le mae'r arian?"

"O! dos i lawr i'r Ty Tatws—i'r gongl ar y llaw chwith—dan bentwr o hen frics—cei dy wobr yno, ond i ti f'arbed I!"

Aeth "yr yspryd" ymaith. Eisteddodd Huw ar y gwely, am ychydig amser, i wrando. Clywoddd ddrws ystordy'r cloron—"Y Ty Tatws"—yn agor. Yna trwst—*clic*—ac ysgrech dyn mewn poen. Gorweddodd Huw, a chysgodd yn dawel.

Bore dranoeth aeth i'r Ty Tatws, a chafodd hyd i Sion Parri'r Waen â'i goes yn ddyogel mewn trap dynion. Edrychodd arno am enyd, ac yna dywedodd—"Sion Parri! Dyma'r ail waith i mi dy orchfygu. Yr oeddit wedi bwriadu drwg i mi; ac, am unwaith yn fy oes, mi ymostyngais i chwareu tric, er mwyn dy gywilyddio a chael cyfle i dy geryddu. Ac a weli di'r chwip yma? Yn lle dy draddodi i ddwylaw'r Ustusiaid, mi a noethaf dy gefn, a chaiff dy gnawd brofi blas y fflangell garai yma."

Gwnaeth Huw hyny. Curodd Sion Parri'n dost, nes ei orfodi i erfyn am bardwn. Ar ol tybied ei fod wedi cospi digon arno, efe a'i rhyddhaodd. Dododd Sion ei ddillad am ei gefn briw, a dywedodd Huw wrtho—"Yrwan, Sion, gad i mi roddi cynghor i ti. 1. Paid byth a chroesi fy llwybr ond hyny, oherwydd nid yw proffes grefyddol dyn yn ei wahardd rhag cospi cnafon. 2. Pan ai di i lunio lladrad eto dan gysgod coeden, *sowndia* hi, rhag ofn ei bod yn holo, a dyn o'r tu fewn yn clywed dy gynlluniau. 3. Ymdrecha droi dalen newydd—bydd yn ddyn sobr, heddychlon, a gonest. Bydd yn anhawdd i ti, bellach, enill parch yn y wlad yma; ond gelli mewn rhyw le newydd. Gan hyny, er mwyn talu da am ddrwg, ac er mwyn dy gynorthwyo i fyw'n well rhagllaw, dyma i ti sofren i fyned i ffwrdd o'r wlad yma. Ffarwel! Cofia'r cynghorion!"

## PENNOD XIV.

Chwerw weithiau yw y cwpan,—
  Weithiau mel, ac weithiau maeth;
Amryw yw treialon daear,
  Weithiau gwell, ac weithiau gwaeth.

DIENW.

"Yna y daw y diwedd."

Ni chymerwn arnom fedru portreadu teimladau Huw

Huws wrth ddynesu at Lynlleifiad, yn yr hen "Amlwch Packet," gyda chyfran dda o'r tri chan' punt yn ei feddiant, yr hyn y bwriadai eu defnyddio i bwrcasu dillad newyddion, ac ymborth amheuthyn, i'w rieni a'i dair chwaer, ac i dalu am eu cludiad yn ol, gydag ef, i hen Gymru hoff.

Yr oedd tuag unarddeg o'r gloch y bore, pan gyrhaeddodd y llong borthladd Llynlleifiad. Prysurodd Huw i lanio. Dododd y fasged, yr hon a ddygodd gydag ef o Gymru, yn llawn danteithion gwledig, ar ei ysgwydd gref, a chychwynodd yn gyflym i chwilio am anedd ei rieni. Ni fu'n hir heb gael hyd i'r heol; ac ar ol tipyn o holi, cafodd hyd i'r ty hefyd. Ond wrth sylwi ar fudreddi a chulni'r heol, a golwg truenus y tai a'r trigolion, suddodd ei galon yn ei fynwes, a dywedodd rhyngddo ag ef ei hun—"Ai tybed mai lle fel hyn ydyw cartref fy rhai anwyl! A ydynt wedi eu darostwng gymaint ag i orfod byw yn y lle aflan yma!"

Aeth i mewn i'r ty. Yr oedd golwg druenus ar yr ystafell—dim cadeiriau, dim byrddau, dim tân—un ystôl fechan ar yr aelwyd, a dau bentwr o briddfeini wedi eu dodi ar eu gilydd, fel pe buasai Sibsiwn wedi bod yno yn trefnu lle i eistedd. Safodd Huw am fynud, heb wybod beth i'w wneud, ac yn ofni ei fod wedi cael ei gamarwain. Gollyngodd ochenaid drom, ac ar hyny, clywodd lais gwan, o'r ystafell arall, yn dywedyd—

"Pwy sydd yna?"

Aeth Huw i'r ystafell hono, Gwelodd hen gist ffawydd ag yr oedd ef yn ei hadnabod er's lawer blwyddyn, a phentwr o hen ddillad arni.

Safodd fel un wedi ei syfrdanu. Yna dododd y fasged, oedd ar ei ysgwydd, ar y llawr yn ddisymwth, wrth deimlo rhywbeth tebyg i lewyg yn dyfod drosto, oherwydd efe a ganfyddodd wyneb gwelw, fel rhithlun o angeu, yn cyfodi yn araf o ganol y pentwr dillad oedd ar y gist ffawydd; a dau lygad glas, mawr, gloyw, treiddgraff, yn syllu arno gyda thremiad dwys a synedig; a'r foment nesaf clywodd ei enw yn cael ei seinio. Dyrchafodd waedd wyllt o lawenydd, a neidiodd at y gwrthddrych nychedig oedd yn estyn breichiau meinion ato. Yr oedd, mewn amrantiad, ar ei liniau wrth ochr gwely gwael ei chwaer hynaf, a hithau yn gwasgu ei breichiau esgyrniog ac egwan am ei wddf ef.

"Fy chwaer!" ebe Huw—"fy anwyl chwaer!—fy anwyl chwaer Mari! O! fy anwylaf Fari!—a gefais I hyd i ti o'r diwedd? Siarad â dy frawd, fy anwylaf Fari!"

Ond nis gallai gael ganddi ddweyd gair—dim ond dal wasgu ei breichiau am ei wddf gyda nerth mwy nag a allesid ddysgwyl gan freichiau mor feinion a churedig. Gwyrodd

Huw ei wyneb ar obenydd ei chwaer, ac wylodd yn groch, gydag angerddoldeb nad oedd ei galon wedi dychymygu ei fodolaeth hyd y foment hono.

Dywedodd Mari o'r diwedd—"Rwan, Huw bach, paid crïo fel yna—paid crïo mor arw—ti a frifi dy hun, ac yr wyt yn brifo 'nhgalon inau!" a thynodd ei llaw deneu ar draws talcen poeth ei brawd. Ymdawelodd Huw yn ebrwydd wrth ystyried y gallasai ei gyffro ef niweidio ei chwaer. Cyfododd—eisteddodd ar ymyl y gist—cymerodd afael yn nwylaw ei chwaer—syllodd ar ei dwylaw, ac yn ei gwyneb, gyda golygon tebyg i ddyn wedi colli pob pelydryn o obaith o'i enaid. Daeth ffrwd o ddagrau i'w lygaid drachefn; ond ni chyfnewidiodd yr un gewyn yn ei wynebpryd i fradychu yr ing angerddol oedd yn llosgi yn ei galon. Ond gwelodd Mari y cyfan, a hi a ddywedodd—

"Paid poeni dim ar fy nghownt I, Huw. Yr wyf yn ddigon hapus. 'Toes dim posib i neb fod yn fwy dedwydd nag wyf fi rwan. Y mae fy mhechodau wedi eu maddeu, fy mhardwn wedi ei selio, ac yr wyf am gael myn'd adref at Iesu Grist yn bur fuan bellach. Yr wyf yn foddlon i fyn'd rwan. Yr unig beth oedd yn gwneud i mi 'ddymuno cael aros tipyn hwy ar y ddaear, oedd, eisio dy wel'd di, Huw; a dyma fy Nhad Nefol wedi gwrando fy ngweddïau i gyd rwan!"

Aeth llais difrifddwys, ond gorfoleddus, ei chwaer, i fewn i galon Huw. Cusanodd ei thalcen gwyn a llaith—rhwbiodd ei dwylaw teneuon yn dyner, a dywedodd—

"O! fy anwyl Fari!—ni ddysgwyliais I mo hyn! Maddeu i mi am fod mor gyffrous. Ond pa le y maent i gyd?"

"Allan—fy nhad hefo'i waith, a fy mam wedi myn'd i dy ryw Gymraes i olchi, a Sarah hefo hi."

Ni feddyliodd Huw am ofyn yn mha le'r oedd Lowri, gan ei fod yn credu ei bod hithau hefyd yn gweithio yn rhywle.

Estynodd Huw ychydig ffrwythau pêr, yn nghyda theisen gartref, flasus, o'r fasged, gan eu rhoddi i Mari.

"O! Huw!" ebe hi, wrth fwyta'r ffrwythau—"mae nhw'n dda!—yr wyf yn 'u cyffelybu nhw i'r manna a gafodd yr Israeliaid yn yr anialwch!"

"Oes yma ddim glo yn y ty, Mari bach?"

"Nid wyf fi'n meddwl fod yma ddim rwan, Huw."

"Oes rhywun yn gwerthu glo yn y lle yma?"

"Oes, mae yna *yard* ychydig yn is i lawr y stryd."

Prysurodd Huw yno; ac yn fuan, yr oedd tân gwresog yn cynhesu'r ty, a thegell yn canu'n siriol ar y tân. Aeth Huw i siop gyfagos, phrynodd gyflawnder o fara, ymenyn, siwgr,

a chig moch. Gwnaeth dê da i'w chwaer; ac yr oedd yn gweini yn brysur arni pan ddychwelodd Marged Huws adref yn ddiarwybod, a chanfod, er ei syndod dirfawr, bentwr o lo yn un gongl o'r gegin, tân mawr yn rhuo yn y grât, ac ymborth lawer ar yr ystôl bren ac ar y pentyrau priddfeini. Clywodd lais y brawd a'r chwaer yn yr ystafell arall, a daeth y dirgelwch yn amlwg iddi. Gyda gwaedd orfoleddus, hi a ymruthrodd i freichiau ei mab. Annghofiwyd pob trallod a blinder yn angerddoldeb serch. Treuliodd Huw awr ddedwydd yn nghwmni ei fam, a'i ddwy chwaer, Mari a Sarah. O'r diwedd efe a ofynodd—

"Yn mha le mae Lowri? Yr wyf yn hiraethu am ei gweled?"

Aeth saeth lymach na dagr ddwyfin i galon y fam a'r ferch. Gwelodd Huw eu cyffro, a gofynodd yn frawychus—

"Beth?—a oes rhywbeth wedi dygwydd iddi?—a ydyw hi ddim yn iach?—ydyw hi—O, fy mam!—arbedwch fi!—torwch fy mhryder!—a ydyw hi'n fyw?"

Gorchfygodd y fam ei theimladau, a dywedodd—"Ydyw, machgen I—gobeithiaf ei bod hi'n fyw ac yn iach; ond y mae hi wedi myn'd o'r cartref. F'alla' daw hi'n ol yn fuan;" a chyda medr merch, hi a drôdd yr ymddyddan at bwnc arall, heb i lygaid meddwl Huw gael eu hagor yn iawn i ganfod yr hyn a ddygwyddasai i'w chwaer Lowri. Yna efe a ofynodd—"Pa bryd y daw 'nhad adref?"

"Tua chwech o'r gloch."

"Yn mh'le y mae o'n gweithio?"

"Yn Birkenhead, rwan."

"Sut y mae o?"

"Wel, nid ydi o ddim yn reit iach, ond y mae'n well o lawer yr wythnos yma nag y buo fo."

Wedi treulio amryw oriau fel hyn, a phan oedd hi'n tynu at chwech o'r gloch, dywedodd Huw—

"Mi a af am dipyn o dro, i gyfarfod fy nhad. Sut y caf fi hyd iddo?"

"Mi fydd ar y *landing stage* tua chwech."

Aeth Huw allan, a chyrhaeddodd y *landing stage*. Wedi bod yno am ychydig fynudau, yn edrych o'i gwmpas, gan ryfeddu at y bywiogrwydd, y gweithgarwch, a'r prysurdeb, cydiodd geneth led ieuanc yn ei fraich, gan ei gyfarch yn ffug-gariadus, a cheisio ei lithio. Syllodd Huw arni am foment, gyda golwg cymysg o lid a thosturi. Gwelodd fod ei olwg yn brawychu'r llances, ac fod ei gwedd yn gwelwi fel pe buasai angau'n tynu yn llinynau ei chalon. Gyda hyny, dyna'r llances yn rhoddi ysgrech uchel, galon-rwygol, fel pe buasai hi yn nghynddaredd gwallgofrwydd; rhedodd

at ymyl y *landing stage*, ac ymdaflodd i ferw llif yr afon Mersey. Dyrchafwyd gwaedd o ddychryn ac alarwn gan y bobl; gwelwyd y corph yn ymgodi i wyneb y dwfr; neidiodd morwr ati, a chafodd afael yn ei gwallt cyn iddi suddo eilwaith; daliodd hi uwchlaw'r dwfr; aeth dynion eraill i'w gynorthwyo, gyda bad, a dygwyd y llances i'r lan. Ymwthiodd pawb, am y cryfaf, i geisio gweled y corph dideimlad, a Huw Huws yn eu plith, ond methodd a myned yn agos. Yn mhen ychydig fynudau, clywodd ryw ddyn yn gwaeddi, mewn Cymraeg croyw—

"O, fy Nuw! fy Nuw!—dyma drallod newydd! Fy ngeneth gyfrgolledig I ydyw hi!—fy ail ferch!—fy Lowri!"

Atebwyd llefau torcalonus y dyn, gan lef arall, groch, daranol, i'w chlywed uwchlaw pob twrf—"Fy Nhad!" a gwelwyd Huw Huws yn cythru trwy'r bobl fel corwynt trwy grinwellt, a chyda chyflymdra meddwl, yr oedd y mab yn ymyl ei dad, a'r ddau yn cydgynal corphyn yr eneth anffodus Lowri!

---

## DIWEDDGLO.

Ehedodd yspryd Mari, y noson hono, at Dduw, a'r geiriau olaf a glywyd o'i genau, oeddynt—

"Yn y dyfroedd mawr a'r tonau
  Nid oes neb a ddeil fy mhen,
Ond fy anwyl Briod Iesu,
  'Rhwn fu farw ar y Pren."

Ceisiwyd pob cymorth meddygol i Lowri; ac er iddi gael adferiad i deimladrwydd, ni fu hi byw ddim ond am ddau ddiwrnod. Nid allodd, gan ei gwendid, fynegu ond ychydig o'i hanes. Cyfaddefodd mai ei balchder a'i dirywiodd, a'i bod wedi gwerthu ei diweirdeb am wisgoedd gwychion. Yr oedd ei hangau yn arswydus,—ei chydwybod o'i mewn fel arthes wedi colli ei chenawon, a threngodd mewn dychrynfeydd annesgrifiadwy.

Aeth Huw, gyda'i rieni a'i chwaer fach, Sarah, yn ol i Gymru. Defnyddiodd ei dri chan punt i brynu y Ty Gwyn; ac yno y treuliodd William a Marged Huws weddill eu hoes; machludodd haul eu heinioes mewn tawelwch tangnefeddus. Yno hefyd y cartrefodd Huw Huws dros ystod rhelyw ei fywyd, ac yr oedd ei fuchedd yn tueddu at roddi pwysigrwydd, urddas, a pharchusrwydd ar nodweddiad Y Llafurwr Cymreig.

**Pris, Chwe' Cheiniog.**

# CYFRINACH CWM ERFIN

A

# Y WLEDD A'R WYRTH:

DWY NOFELAU GAN

# LLEW LLWYFO.

LIVERPOOL:
Cyhoeddwyd gan I. Foulkes, 18, Brunswick Street

# CYFRINACH CWM ERFIN

A

# Y WLEDD A'R WYRTH:

DWY NOFEL GAN

# LLEW LLWYFO.

LIVERPOOL:
Cyhoeddwyd gan I. Foulkes, 18, Brunswick Street.

# CYFRINACH CWM ERFIN:

NEU,

## EUOG AI GWALLGOF?

---

[YN ei ddwy gyfrol odidog, *Cymru*, y mae gan y diweddar Barchedig Owain Jones groniclau lluosog o ofergoelion, chwedlau a thraddodiadau amryfal siroedd ac ardaloedd Gogledd a Deheudir Cymru, yn enwedig Ceredigion a'i hardaloedd mwngloddiol. Ar un o'r traddodiadau hyny y sylfaenir y Fabinogi a ganlyn, hanfod yr hon a gredid yn ddibetrus hyd o fewn ychydig flynyddoedd yn ol, os nad hyd y dydd hwn, gan fwngloddwyr a brodorion syml a gwledig y sir hono.]

---

### PENNOD I.

ENW priodol arwr ein mabinogi oedd Morus Cyffin, ond llysenwid ef am amser maith gan ei gydfwnwyr fel "Morus Draws"—enw a fathwyd gan gymeriad hunangar ac absenus, a fynai gael ei ystyried ei hun yn ben bardd y fro, ac a roddodd iddo ei hun y ffugenw Tal Goginan. Efe hefyd—y "Tal" hwn—a lwyddodd i gael gan nifer o'i gymydogion i'w gydnabod fel hanesyddwr, a'r awdurdod ar bob pwnc henafol trwy yr holl dalaeth.

Ni fu Morus Cyffin nemawr o amser yn Nghwm Erfin cyn i'w ymddygiad hynod beri i'w gydweithwyr benderfynu yn unfryd-unfarn fod rhywbeth ofnadwy yn pwyso ar ei feddwl, neu fod ei synwyrau allan o drefn; a'i fod un ai yn euog o ryw drosedd ysgeler neu wedi gwallgofi. Barn bendant yr anffaeledig Tal Goginan ydoedd mai cydwybod euog oedd yn blino'r newydd-ddyfodiad, ac oherwydd hyny y mynai efe ei lysenwi yn Morus Draws; a dyna'r enw a ddefnyddiwn ninau, wrth son am dano, am ryw gymaint o amser.

Yr oedd Morus Draws wedi dyfod i Gwm Erfin o rywle yn eithafoedd Gogledd Gwynedd, ond nid oedd na thaerineb, na dichell, na chyfrwystra a fedrai gael ganddo ef fynegi y fan a'r lle yr oedd wedi dyfod ync ohono. Mewn gwirionedd, yr oedd yn amlwg fod Morus Draws wedi penderfynu o'r dechreu na ddywedai air am dano ei hun, eithr a fyddai yn orfodol ac anosgoadwy. Methai pob dyfais a chael allan pa un ydoedd ai priod ai sengl. Nid oedd byth yn ysgrifenu nac yn derbyn llythyr, ac nid oedd yn ymddangos fod ganddo gydnabod yn yr holl fyd. Mewn gair, fe ymddangosai fel un cwbl a hollol unig ac anadnabyddus, ac mai ei unig ddymuniad ydoedd cael byw a bod felly.

Nid oedd Morus Draws wedi dwyn dim eiddo na diwyg gydag ef, amgen na'r hyn oedd gwbl a hollol angenrheidiol at wasanaeth mwngloddiwr tlawd a chyffredin,—gwisg gyfaddas at waith, gyda dau neu dri o dylsod mwnwr—wedi eu dyogelu mewn ffunen gotwm felyngoch. Yr oedd cyflwr ei esgidiau cedyrn yn peri i edrychydd dynu'r casgliad ei fod wedi teithio yn galed am lawer o ddyddiau, tra yr oedd yn ei lygaid rhyw fath o dremiad nad oedd yn hawdd ei esbonio na'i ddirnad. Barnai rhai mai effaith coll cwsg crwydryn oedd y tremiad rhyfedd hwnw; ond barn ddiysgog yr anffaeledig Tal Goginan ydoedd, nad oedd y nodwedd cyfrin hwnw yn nhrem llygaid y dyeithryn yn ddim

amgen nag argoel o ofn arswydlawn dyn euog o ryw drosedd anferth.

Ni chafodd unrhyw drafferth i gael gwaith yn Nghwm Erfin, yn gymaint a bod mwngloddiau plwm, arian, ac efydd y wlad—y Darren Fawr, y Goginan, Talybont, Cwm Ystwyth, Tre'r Ddol, Trawsgoed, a Chwm Erfin—yn dra blodeuog a bywiog ar y pryd, ac yntau—y Morus hwn—yn hollol ddidaro yn nghylch pa fath o waith, na pha faint o gyflog, a roddid iddo.

Yn wir, os oedd y gweithiwr newydd yn dangos tueddiad at wneud rhyw fath o ddewisiad gyda golwg ar waith, cael bod mewn lle o berygl oedd y dewisiad hwnw, ac yr oedd yn ymddangos fod "stem" nos yn fwy cydnaws â'i dymheredd na gweithio yn ystod y dydd.

Llwyddodd i gael llety gyda Modlan Prys—hen wraig nodedig am "glebar" dibaid ei thafod, a'i hymyraeth diddiwedd âg amgylchiadau pobl eraill. Yr oedd Modlan yn byw mewn bwthyn bychan ychydig ffordd oddiwrth y gwaith a'r pentre' (y fath ag ydoedd y pryd hwnw).

Synai pawb fod "Morus Draws" yn myned i letya gyda'r hen Fodlan Prys, oherwydd fod ei thafod chwedlog, mewn gwirionedd, yn offeryn ac achos dychryn i bawb a'i hadwaenai. Ond ni fynai y mwnwr dyeithr a rhyfedd ofyn cynghor na gwr na gwraig, hen nac ieuanc, ac yr oedd yn amlwg ei fod wedi penderfynu peidio ateb unrhyw gwestiwn a ofynid iddo.

Ond, po fwyaf tawedog a digyfeillach yr elai efe, mwyaf y mynai'r trigolion ei gwestiyno, a chryfaf y cynyddai cywreingarwch yr ardalwyr yn ei gylch ; a mwyaf diysgog y deuai barn Tal Goginan mai rhyw adyn euog ydoedd, a chyfran arall o'r gweithwyr mai dyn ydoedd wedi ffoi o Wallgofdy Dinbach.

Er hyny, oddigerth ei ymddygiad cyfrin a digyweithas, yn nghyda'i hoffder o weithio yn y lleoedd mwyaf peryglus yn y gwaith, nid oedd ynddo nac arno yr arwydd lleiaf o orphwylledd. Yr oedd

yn rheolaidd ac yn drefnus yn ei holl ysgogiadau, yn fedrus gyda'i waith, yn daclus yn ei ddiwyg; ac hyd yn nod yn ystod yr wythnos gyntaf y bu yn aros yn Nghwm Erfin, efe a ddatguddiodd y fath ysbryd o haelfrydedd ac anhunangarwch nas gwelodd y bobl ei gyffelyb erioed o'r blaen.

O ganlyniad, fe ddymchwelodd athrawiaeth y gwallgofrwydd oherwydd nas gellid cael seiliau digonol i'w maentumio. Nis gellid gwadu fod y dyn yn rhywun rhyfedd, dystaw ac annealladwy; ond dyweder a fyner, nis gellid profi ei fod yn wallgof.

Ar yr un pryd, yr oedd yr unigedd cyfrin ac anhydraidd hwn yn blino a phoeni'r trigolion ymyrgar. Nid ymddangosai'r dyn yn ddim dros ddeg neu ddeuddeg ar hugain oed, ac nis gallent hwy ystyried, na chredu, fod hyny yn gyson â'i ymddygiad.

"Y mae achos i bob effaith," meddai oracl y lle —Tal Goginan—wrth dŵr o bobl oeddynt wedi cydgynull gerllaw y gwaith un hwyrnawn tawel; "a rhaid bod rhyw achos i'r dirgelwch hyn. Pa fodd y mae 'i egluro ydyw'r pwnc. Pa'm na chlywn ni byth mo'r dyn hyn yn gweyd gair am ddim sy' wedi pasio? a pha'm nad oes dim un enaid byw a fedr gael ganddo fe i ateb un cwestiwn a ofynir iddo am bethau sydd wedi myn'd heibo? Mae rhyw achos i hyn!"

"Ond," ebai mwnwr arall, o'r enw Ifan Meredydd, eithr a elwid ac a adwaenid fel Ifan Bach, oblegyd mesuredd ei gorph bychan, cadarn,—"ond rhaid i ni beidio anghofio taw y fe yw'r gweithiwr mwya 'i gymwynas o bawb ohono ni; nad yw byth yn gweyd gair cro's, na byth yn colli 'i dempar, shwt bena bo petha'n myn'd."

"Ie," atebai Tal Goginan, gyda gwg anfoddoggrwydd yn gorchuddio ei wyneb, "ond beth am yr hen ddull mwlsynaidd hyn sydd yn ei nodweddu, yn ei gadw draw oddiwrth bawb ond pan fydd raid, ac yn gwneud iddo fe ballu agor ei ben mewn atebiad i un cwestiwn?"

"Beth wedi di, Twm Prydderch?" gofynai un arall o'r fintai. "Mae gen't ti fantes fwy na neb i ddallt y dyn, achos mae e'n gweitho gyda'ch di."

Twm Prydderch ydoedd greadur garw ei foes, ei ymddygiad, ei iaith, ei gorph a'i feddwl—y mwyaf

a'r trymaf ei gorpws yn y Cwm, yn gystal a'r mwyaf ei drachwant am ei fyglys a'i "gwart," a'i gasineb at unrhyw waith caled. Efe oedd yr ymffrostiwr mwyaf yn yr holl Gwm, ac fe wyddai ei holl gydweithwyr mai efe hefyd oedd yr adyn mwyaf llwfr a digalon yn yr holl fro.

Yn ei ddull ymffrostgar ei hun, atebodd Twm Prydderch :—

"Marn i odi bod y Morus Draws hyn yn cael mwy na'i siâr o sylw. Sana i'n hido dim mwy yntho fe na rhw Northyn arall."

"Na fine," gwaeddai dau neu dri eraill; ond er fod y mwngloddwyr bron i gyd yn cymeryd arnynt nad oeddynt yn "hido," yr oedd tuhwnt i bob dadl eu bod yn "hido" yn ddwfn yr holl amser, ac yn llawer mwy ymholgar a siomedig nag yr ewyllysient gyfaddef eu bod.

Fe gofia'r darllenydd mai Twm Prydderch oedd y "partner" cyntaf a gafodd "Morus Draws" yn Nghwm Erfin, ac mai efe ("Twm") oedd y mwyaf llwfr yn y fro pan ddeuai prawf arno yn gorphorol, meddyliol neu foesol. Ac fel y mwyafrif o rai anwybodus a bostfawr, yr oedd yn hynod, hyd yn nod yn y dosparth ofergoelus y perthynai iddo, am ei ofergoeledd angherddol a'i grediniaeth hyd waelod ei galon mewn ysprydion, arwyddion, argoelion bwganod, brudwyr, melldithwyr, a swyngyfareddion.

Buasai yn annichon cael dau mwy annghydnaws i gydweithio â'u gilydd nag oedd Twm Prydderch a "Morus Draws." Ar y cyntaf, yr oedd Prydderch yn dra meistrolaidd a thaeog at ei "bartner" dystaw a diabsen, gan ei wawdio a'i gyhuddo o ddiffyg gewyn, a diffyg cyfartal o brofiad fel mwnwr; ac efe a elai mor bell ag i'w fygwth â rhywbeth llymach na cherydd os nad edrychai efe yn fwy siriol, ac os na chyflawnai gyfran helaethach o'r gwaith.

"Y gwir am dani, Morus Draws," ebai Prydderch un noson, tra 'roeddynt yn disgwyl i'r mwg powdwr glirio ar ol ergyd yn ngwaelod y pwll, "y gwir am dani odi hyn—'dyw dy ffordd sylci di ddim yn siwto ni, pobol Cwm Erfin yma,—sana ni'n gyfarwydd â'r ffordd, a sana ni'n meddwl 'i gael e'n hwy."

**Pris, Chwe' Cheiniog.**

# CYFRINACH CWM ERFIN

A

# Y WLEDD A'R WYRTH:

DWY NOFELIGAN

## LLEW LLWYFO

LIVERPOOL:
Cyhoeddwyd gan I. Foulkes, 18, Brunswick Street.

# CYFRINACH CWM ERFIN

A

# Y WLEDD A'R WYRTH:

DWY NOFEL GAN

## LLEW LLWYFO.

LIVERPOOL:
Cyhoeddwyd gan I. Foulkes, 18, Brunswick Street.

Ond dychymygai ei fod yn clywed swn trwst traed o'i ol, ac fel yn ei ddilyn. Tybiai hefyd fod y trwst yn dynesu yn nes-nes ato, a theimlai fod ei galon fel yn sefyll ac yn darfod curo yn ei fynwes. Er hyny, gwnaeth un ymdrech arall, galed ac ofnadwy, gan haner hyderu, pe y llwyddai i gael ei draed ar yr ysgol, y byddai yn sicr o osgoi ei elyn cyfrin ac annynol.

Llawer canwaith yr oedd Twm Prydderch wedi disgyn ac esgyn yr ysgol hono o'r blaen, ond nid erioed gyda'r fath egni a chyflymdra a'r noson hono. Yr oedd yn teimlo fel pe buasai holl ellyllon y pwll diwaelod wrth ei sodlau. Ond ni wnai hyny amgen ei symbylu i ddringo gyda mwy o egni a chyflymdra. Llifai y chwys dros ei holl gorph, ac er y buasai'r fath dreth ar ei nerth yn ei lesteirio, neu ei ddarostwng i lewyg, os nad i angau, dan amgylchiadau eraill, i fynu ac i fynu, yn uwch ac yn uwch, y gweithiai ei ffordd, gan deimlo fel pe buasai yr ychydig funydau hyny cyhyd â'r un nifer o fisoedd i'w cymeryd i gyflawni ei dasg aruthrol.

O'r diwedd, pan ar fin llewygu ac ymsuddo yn ddinerth yn ol i waelod y pwll, adnewyddwyd yni, yspryd, a nerth y dringwr llwfr a dychrynedig, pan deimlai ddylanwad chwa adfywiol awr gyntaf y boreu yn cusanu ei rudd ac yn lliniaru twymyn ei ael; ac yntau, yn mhen ychydig funydau, yn cael ei hun yn sangu arwyneb y tir, gyda'r sêr disgleiriog yn pefrio uwch ei ben, a gwynt y cynforeu yn chwiban o'i amgylch.

Er nad oedd Twm Prydderch wedi arfer cydnabod trugaredd na daioni goruchnaturiol yn nglyn âg amgylchiadau dynol na daearol, teimlai fod ei holl ofnau wedi diflanu, ac nis gallai lai na dyrchu ei olygon cyffroedig tua'r nefoedd cyn troi ei wyneb a chyfeirio ei gamrau tua'r bwthyn lle gwnelai ei gartref gerllaw.

Parodd ei ymddangosiad annisgwyliadwy syfrdandod a dychryn i bawb yn y tŷ, ond yr oedd efe yn rhy luddedig ei gorph a chyffroedig ei feddwl i gynyg eglurhad nac ateb cwestiwn,

eithr ymsuddodd yn gwbl ddiymadferth ar y *settle* oedd yn ymyl y pentan di-wres a di-dân.

Er nas gellid dweyd mai cwsg, mewn gwirionedd, oedd y cyflwr yn mha un y treuliodd Twm Prydderch y gweddill o'r boreu hwnw, efe a gafodd ei hun, yn mhen rhai oriau, wedi ymadnewyddu digon iddo allu myned oddiamgylch, a gwneud cyffes helaeth o'r hyn oedd wedi digwydd, yn gystal ag o'i benderfyniad yntau mewn canlyniad.

"Alla' i ddim gweithio rhagor gyda'r criadur peryglus yna," ebai ef wrth Capten Parry, meistr y gwaith, yr hwn a wrandawai arno gyda theimlad cymysg o ddigrifwch, astudrwydd, a chywreingarwch. "Ac os gwelwch chi'n dda, syr, rhaid i fi gael rhyw le arall yn y gwaith, ne daflu'm hunan ar y plwy."

Capten Parry a atebodd: "'Dwyf fi'n gweled dim cysondeb ynot ti, Twm. 'Rown i'n meddwl fod y dyn yn feinar da iawn—yn wir, nad oedd raid iddo roi ei gap i lawr i ddim un ohonoch."

"Mae hyna'n ddigon gwir, syr," ebai Prydderch; "ma'r dyn—os dyn yw e—mae e'n eitha meinar; ond dyna'r drwg, mae e'n feinar *rhy* dda. Welais i ddim dyn eriod fedar gael cymaint o geryg i lawr mewn un stem. Ond er hyny, sana i'n myn'd i weithio dim rhagor gydag e. Mae'r un gair ena cystal a chant!"

"Ond," meddai'r Capten, ychydig yn fwy diamynedd, "welaf fi ddim fod gen ti un math o reswm dros dy benderfyniad. A ydych chi'n ffaelu cytuno ar rywbeth? Er fod rhyw gyfrinach yn sicr o fod yn perthyn i'r dyn, yr o'wn i'n meddwl hefyd nad oedd dim natur ffraeo ynddo fe o gwbl, ond yn hollol wahanol."

"Mae hyna eto'n wir," atebai Prydderch, gan deimlo ei hun mewn sefyllfa gyfyng ac annghysurus. "Ond y drwg gyda hyny eto yw, nad oes dim posib cael ffrae gydag e, achos ellir dim cael gair byth o'i ben e. Pe bae'r criadur ddim ond yn *gweyd* rhywbeth, croes ne beidio, fydde raid i ddyn ddim fod cimint o'i ofan e."

"Beth, Twm !" ebai'r Capten, mewn gradd o syndod. "Ei *ofan* e ! A yw dyn o'th nerth a'th brofiad di yn son am *ofni* un o faint cyffredin, ac o ymddygiad tawel a chwrtais, y dyn hyn ? Fi glywais un ohonoch—'rwyf fi'n meddwl mai Tal Goginan oedd e—yn gofyn, y dydd o'r blaen, pan oedd lot ohonoch yn beirniadu ymddygiad y 'Morus Draws' hyn—fel y mynai Tal ei alw—fe'i clywais yn gofyn, a lot ohonoch yn gwneud y cwestiwn yn destyn dadl, a hyny oedd, 'Pa un ai euog ai gwallgof yw'r dyn hyn ?' Ond er fod Tal Goginan a'i blaid yn taeru yn bendant mai arwydd euogrwydd o ryw drosedd ofnadwy, a'r lleill yn dadlu mai argoel o radd o wallgofrwydd, ydyw ymddygiad cyfriniol y dyn hyn, nid oedd neb ohonoch yn ei *ofni*, fel yr wyt ti yn awr."

"Wel, Capten," ebai Twm Prydderch, gan deimlo mai ofer oedd ceisio celu yn hwy yr hyn oedd yn ei boeni'n benaf : "Wel, Capten, rw i wedi gneuthur 'y ngore i gadw rhagoch chi y peth sy'n pwyso fwya ar y meddwl ; ond rhaid gweyd y cwbl bellach. Mae'n fwy na thebyg mai 'ngalw i'n ffwl wnewch chi ; ond 'does dim o'r help. Dyma'r gwir : Sana i'n credu taw *dyn* yw e o gwbl !"

Nis gwyddai'r Capten Parry pa un a wnelai, ai chwerthin ai cerydda—gwawdio ai tosturio ; ond efe a ddywedodd :

"Pa beth, Twm !—ai nid wyt yn credu —"

"Nag wy' i ddim yn credu taw dyn, ond y gwr drwg 'i hun, yw e ! Hawdd odi i chi, Capten Parry, wrth glywed hyn, feddwl taw fi sydd yn 'wallgof ;' ond ni fasech yn synu dim am hyn pe basech chi ddim ond gwel'd shiwd edrychiad a rows e arna i neithiwr, yn ngwaelod y gwaith ! Yr oedd ei dremiad yn ddigon i daro byddin i'r llawr ! A phe baech chi'n gwel'd fel y bydd y tân yn fflachio oddiwrth 'i ebill, pan fydd e'n tyllu'r graig, chi wedech chitha 'i fod yn rhy gyfarwdd â thân a brwmstan i fod yn neb mwy na llai nag arglwydd Gehenna 'i hun !"

Methai'r capten a darostwng yn hwy y tueddfryd a ymgymhellodd gyntaf iddo, wrth wrandaw ar druth yr un nad oedd gan na meistr na chydweithiwr na pharch na chyfeillgarwch ato; a thorodd allan i chwerthin, mewn dull cymysg o ddifyrwch a gwawd, yr hyn a ychwanegai at benbleth ei ymwelydd, ond yr hwn, yntau, a ddywedodd gyda chryn sarugrwydd:

"Gellwch chi chwerthin yn hawdd, Capten Parry, ond cwestiwn arall odi beth nelsech chi pe'n bownd o weithio'n bartner, fel fi, gyda'r diafl mewn disgeis! Ond, 'dwyf ina ddim am neuthur byth ond hyny, deled a ddelo!"

Pan oedd y drafodaeth yn bygwth troi yn annghyfeillgar, digwyddodd dau weithiwr fyned heibio ffenestr y swyddfa, lle yr oedd geiriau geirwon mewn perygl o ddeffro cynhen. Y ddau hyny oeddynt Tal Goginan a Sam Llwyd, y rhai a alwodd y Capten i mewn i'r swyddfa.

Cafodd y darllenydd gipolwg ar pa fath fôd oedd y "bardd," pondigrybwyll, Tal Goginan, yn y bennod gyntaf; ond bydd raid iddo, er mwyn cywirdeb y fabinogi, dreulio peth amser yn ei gymdeithas yn mhellach yn mlaen.

Dyma'r olwg gyntaf a roddir yn y cofnodion hyn ar Sam Llwyd—un o'r cymeriadau mwyaf gwreiddiol a dianair yn y fro. Ond, caiff ei weithredoedd ddangos pa fath gymeriad ydoedd.

Yr oedd Tal Goginan a Sam Llwyd wedi clywed y gyfran helaethaf o'r helynt yn y pwll y noson flaenorol,—yr oll, oddigerth yr hyn yr ofnai Twm Prydderch ei adrodd i'w gydfwnwyr, rhag iddynt gael achlysur i'w wneud yn destyn gwawd—sef yr hyn a ystyriai efe yn brofion diymwad nad oedd ei "bartner" yn neb amgen na'r diafol ei hun. Cadwodd hyn yn gyfrinach oddiwrth bawb oddieithr ei wraig a'r Capten Parry, yr hwn a fynegodd y cyfan i'r ddau yr oedd wedi eu galw i mewn.

Gellid canfod yn amlwg, wrth sylwi ar wynebpryd pob un o'r ddau, pa mor wahanol oedd yr argraph a wnelai yr adroddiad ar eu teimladau a'u barnau.

Ymdaenai math o ffurf ac adliw boddhad dros wyneb Tal Goginan; ac ebai ef, gan gynted ag y cafodd gyfle:

"Dyna i chwi! Mae fy ngeiriau yn cael eu cadarnhau fwy-fwy beunydd. Er nad wyf yn hollol o'r un farn â Thwm Prydderch, taw'r diafl yw'r dyn hyn, eto y mae profiad Twm gydag ef yn ddigon o gyfiawnhad i fy ngwaith yn rhoddi iddo yr enw a lŷn wrtho bellach cyhyd ag y parhao efe yn yr ardaloedd hyn; a chwi ellwch benderfynu nad yw'r helbul hwn â'r Twm Prydderch yn ddim ond dechreu helbulon eraill yn y lle."

Pan oedd Tal Goginan yn rhyw lawenychu fel yna oherwydd yr hyn a alwai efe yn gadarnhad o'i ragfynegiadau o'r dechreu am y cymeriad peryglus oedd wedi dyfod i'w plith, yr oedd Sam Llwyd yn cael ei feddianu gan deimladau hollol wahanol. Cyn iddo yngan gair ar y mater oedd dan sylw, teimlai Prydderch, wrth sylwi ar argraph gwynebpryd Sam, nad oedd wiw iddo ddisgwyl nemawr o ffafr bellach oddiar law'r Capten na Llwyd; a phenderfynodd fyned allan.

"Wyddoch chwi beth, ddynon?" ebai'r Capten Parry, "y mae'r elephant diog ac afrosgo hyn yn debyg o'n dwyn i fwy o drwbwl nag oeddwn yn erfyn. Y perygl mawr, bellach, ydyw iddo gyffroi dychymygion ofergoelus y lluaws gweithwyr sydd yn llawn mor barod ag yntau i gredu pob baldordd afresymol ac annaturiol, fel ag i greu ynddynt ofn i fyned i weithio eto gyda'r un ag y mae Tal yma wedi ei gamenwi yn 'Morus Draws.' A dyma finau mewn cymaint awydd am dori at y wythïen newydd yn gwmws yn y lefel lle'r oedd Twm Prydderch a Morus Draws yn gweithio!"

"O, peidiwch gadel i hyna fecso'ch meddwl chi, Capten Parry," ebai Sam Llwyd; "fi fentraf y caiff y gwaith 'i neud yn gwmws un shiwd ag y chi'n mo'yn. Does gan Twm Prydderch ddim digon o ddylanwad i ddal un dyn na chrotyn oddiwrth 'i waith."

"Fe all hyna fod yn ddigon gwir yn nghylch Prydderch a'i ddylanwad personol; ac ni synwn i ddim pe b'ai pob dyn yn y lle yn troi i wneud sport ohono fe a'i stori. Ar yr un pryd, er cymaint mae'r Ysgol Sul wedi ac yn ei wneud i wareidd-io'r bobol, y mae rhai hen ofergoelion yn dala yn eu mysg gan gryfed ag erioed. A sylwch chwi'n awr eich dau: wedi i'r holl ddynon glywed y cyfan a fu cydrhwng Twm Prydderch a Morus Draws, na cheir dim un yn eu plith yn foddlon i weithio gyda'r dyn yna."

"Dyna gamgymeriad arall, Capten," atebai Sam Llwyd. "Os bydd hyny'n rhwbeth i chi, fe gymra i y lle rhag blaen, heb ddim rhagor o fwstwr."

"Beth ?—ti ?"

"Ie, bid siwr; a pham nad y fi? Mae'r far-gen yn llawn cystal a f'un ine; ac hyd yn nod pe b'ai ffwlbri Twm Prydderch yn berffaith wir, taw'r diafl ar lun dyn ydi Morus Draws, 'does arna i ddim o'i ofan e. Yn wir, sana i'n gwybod beth ydi ofan,—welais i ddim eriod ohono."

Gellid gweled cysgod cwmwl digofaint yn ym-grogi dros aeliau Tal Goginan wrth wrando ar hyn, tra y methai'r Capten Parry ag ymatal rhag chwerthin drachefn, cyn dywedyd:

"Yr un wyt ti byth a hefyd, Sam. Ond, gan taw ti sy'n cynyg, fi adawaf y cwbwl rhyngot ti a Prydderch; er nad oes gyda fi fawr o ffydd yn dy genadaeth. Pa fodd bynag, gad i fi wybod mor gynted ag y gelli pa ffordd y bydd pethau wedi troi."

Wedi i Sam Llwyd fyned allan mewn ymchwil am Twm Prydderch, efe a'i cafodd yn ymyl y dafarn, yn cael ei amgylchynu gan fintai o'r trigolion, o bob oedran, y rhai oeddynt yn gwrando ar ei chwedlau a'i ddychymygion an-naearol, gyda'u safnau yn agored a'u llygaid yn rhwth.

Anfynych, os erioed, y bu dyn yn wrthddrych mwy cyffredinol dadl a dyfalwch trigolion un-rhyw ardal wledig, nag oedd "Morus Draws" y

noson hono, ar bentanau bwthynod y gweithwyr ac yn lefeli y gwaith yn ngwaelod y mwnglawdd. Yr oedd hyd yn nod y rhai hyny a deimlent yn fwyaf ffafriol at Morus yn gorfod cyfaddef fod rhywbeth, cyfrin, dyrys, ac annirnadwy yn ei ymddygiad; tra yr oedd y dosbarth mwyaf ofergoelus a rhagfarnllyd, er yn methu cytuno yn nghylch pa un ai "euog ai gwallgof" ydoedd, eto yn gwbl unfryd-unfarn mai dyn oedd i ymogelyd rhagddo.

Yr oedd ambell un yn ddigon rhyddfrydig i beidio datgan yn bendant mai y diafol ei hun ydoedd "Morus," ac y dichon nad oedd y dyn yn wallgof ychwaith. Ond er hyny, yr oedd y cwestiwn yn parhau i gael ei ofyn a'i ddadlu, sef Pwy a pha beth oedd efe, ac, O ba le yr oedd wedi dod? Gyda golwg ar y cwestiwn olaf, nid oedd unrhyw allu yn y nefoedd uchod na'r ddaear isod a ysgogai Tal Goginan a'i blaid oddiwrth eu dyfarniad anffaeledig hwy, sef nad oedd Morus Draws yn neb amgen na rhyw adyn wedi llwyddo i ffoi o benydwasanaeth yr oedd yn gorfod ei gyflawni yn gospedigaeth am rhyw drosedd ysgeler yn un o siroedd y Gogledd; neu ynte wedi llwyddo i ffoi cyn i'r awdurdodau allu darganfod y troseddwr, ac mai'r gyfrinach hono oedd yn gwneud ei fywyd yn adfyd ac yn selio ei wefusau mewn gradd o fudandod a adawai drigolion Cwm Erfin mewn penbleth barhaus, yr hon oedd ar fin ymddadblygu mewn angerddolrwydd digêl.

## PENNOD III.

UN o'r effeithiau amlwg cyntaf a gynyrchodd lledaeniad y chwedlau a'r drwgdybiau a adroddwyd gan Twm Prydderch ydoedd, peri i'r hen wrach, Modlan Prys, gyda'r hon y llettyai Morus Draws, benderfynu nas gallai hi fyw awr yn hwy gyda'r fath lettywr anesboniadwy. Pa un bynag ai euog o ryw drosedd echrydus oedd efe, yn ol athrawiaeth Tal Goginan, ai wedi cael ei feddianu gan ryw fath o wallgofrwydd, yn ol barn cyfran arall o'r mwngloddwyr, neu ynte mai y diafol oedd efe ar ffurf dyn, yr oedd byw gyda'r naill neu'r llall o'r cyfryw gymeriadau yn fwy nag a allai Modlan Prys ei wneud byth mwy ond hyny.

Nid oedd gan yr hen faldorddes ddigon o ddewrder i roddi rhybudd i Morus ymadael, ac hyd yn nod pe buasai efe yn ymadael yn dawel, buasai arni hi ofn treulio noson arall yn y ty byth wedi hyny, gan y credai yn sicr ddianmheu nas gallai dim ond melldith fod ar ba le bynag a lygrid gan bresenoldeb y creadur hwn. O ganlyniad, pan oedd ei llettywr gyda'i waith tranoeth, llogodd Modlan "drol a mul" gan Deio'r Ysgaden, a chliriodd bob dodrefnyn allan o'r bwthyn, fel, pan ddychwelodd Morus o'i waith, nid oedd yno i'w groesawu onid muriau moelion ac aelwyd ddi-dân.

Nid ymddangosai fod hyn yn peri nemawr o syndod na dygasedd i'r llettywr, ac ni ddiangodd gair garw allan o'i enau. Eisteddodd yn bwyllog ar gareg yr aelwyd, a thynodd o'i logell y gweddill o'i "g'nys'wyd," gan ei fwyta'n hamddenol a didaro. Yna, gan orphwys ei ben ar y pared noeth, cauodd ei lygaid a chysgodd yn dawel.

Parhaodd Morus i gysgu felly am y nifer cyffredin o hûn melus y gweithiwr, a hyny mor esmwyth a phe buasai efe mewn gwely llednais.

Cyfododd haul y boreu o'r tu ol i dŵr o gymylau, gan belydru i mewn i'r ystafell ddigysur drwy y ffenestr ddigyrten, a chan ddodi cusan ar rudd ac adliw o wrid ar wyneb y dyn unigol.

Yr oedd "partner" newydd Morus—Sam Llwyd—wedi clywed y manylion am ymddygiad cywilyddus Modlan Prys; a chan ei fod ef—Llwyd—yn credu yn sicr fod y dyeithryn yn cael cam dybryd, penderfynodd, os gallai, fyned i'w gynorthwyo a'i gysuro yn ei unigedd. Cyfododd yn foreu. Cerddodd tua'r bwthyn. Cil-agorodd y drws yn araf a dystaw. Ond, wrth ganfod Morus yn huno ar yr aelwyd mor dawel a baban diboen, ni theimlai ar ei galon i'w aflonyddu; eithr gan sefyll i syllu arno am enyd fèr, efe a ymsoniai rhyngddo â'i hun :—

"Rwy'n ffaelu dyall shiwd y gall na mab na merch *ofni* 'r fath bictiwr o ddiniweidrwydd ag yw'r dyn yna! Ond gadawaf lonydd iddo gael 'i gwsg i ma's mor dawel ag y gallo," ac aeth yn ol, gan dynu'r drws i'w glicied mor ddidrwst ag y gallai yntau.

Yn mhen ychydig fynudau drachefn, yr oedd yr hwn y mynai Tal Goginan ei alw yn "Morus Draws" wedi dihuno o'i gwsg annghyffredin, ac yn teimlo ei hun, am foment neu ddwy, yn hollol analluog i ddirnad ei sefyllfa nac i roddi unrhyw gyfrif iddo nac am dano ei hun. Ond wedi cyfodi i'w sefyll, ac ystwyrian fel dyn heb crphen deffro, dechreuodd alw pethau i gôf a deall yr amgylchiadau gorphenol a phresenol; ac ebai ef wrtho ei hun, gan haner gwenu :—

"Thâl hi ddim, beth bynag. Wneiff gorfedd ar y llawr heb amgian cybenydd na'r pared moel, mo'r tro. Mae'n rhaid i mi gael rhyw fath o wely, doed a ddelo; ac hefyd rhyw lun o gadair, a chetl, a chrochon, a phadell ffrio; ac ar ol i mi gael y rheiny, mi gyfra i f'hun wedi ngosod i fynu mor daclus a neb ohonyn nhw. Ond, wrth gofio, y peth cynta i mi i neud yw gwel'd Mr Powell, a chytuno yn nghylch y ty a'r rhent."

Cyn pen dwy awr, yr oedd Morus Gyffin—fe gofia'r darllenydd mai dyna oedd enw priodol yr hwn a lysenwid yn "Morus Draws"—yr oedd ein harwr wedi dyfod i berffaith ddealltwriaeth â Mr Powell, perchenog y bwthyn, ac wedi sicrhau yr ychydig gelfi a ystyriai yn anhebgorol iddo ef at "gadw ty."

"Stem y nos" oedd ganddo y noson nesaf eto, gyda'i "bartner" newydd, sef Sam Llwyd; ac er fod yr olaf yn teimlo yn gwbl gyfeillgar ato, heb goleddu dim o ddrwgdybiau Twm Prydderch, na'r eiddo eraill o'r gweithwyr am dano, methai Sam hefyd, er ceisio yn ddyfal a charedig, a chael gan Morus i gymeryd rhan mewn un math o ymddyddan, nac i roddi un atebiad i unrhyw gwestiwn ddim mwy nag "Ie" neu "Nage," a'u cyfystyron, fel ag y dengys y cais a ganlyn at gael ymgom, yn ystod yr ychydig amser yr oedd raid dreulio i aros i'r mwg glirio wedi taniad ergyd:—

"Ai yn y caban acw'r wyt ti'n meddwl aros dy hunan o hyd?" gofynai Sam Llwyd.

"Ie," atebai Morus Gyffin, heb ddangos yr awydd lleiaf am i'r ymddyddan fyned yn mlaen; eithr yn hytrach i'r gwrthwyneb.

"Ond, wyt ti ddim yn meddwl y bydd byw felly, a hyny mewn shiwd le, yn anodd iawn i ti?"

"Na fydd."

"Ond dyna'r cŵcan, y golchi, a mendo'r dillad, a fedri di wneuthnr hyny i gyd dy hunan?"

"Medraf."

"A 'does dim ofan arnat ti fod ar dy ben dy hun?"

"Nag oes."

"O'm rhan i," ychwanegai Sam, gyda dyfalwch cynyddol, "f'rwy i'n lico ticyn o ffrindiaeth fach ddifyr, o' bob ochor grât fach bert yn taflu gwres trwy'r ty, nenwedig acha nosweithiau hirion y gauaf. Wyt ti ddim yn meddwl fod hyny yn llawer mwy cyfforddus nag i ddyn fyw ar ei ben i hun?"

"Ydw."

"Ac eto, 'rwyt ti'n meddwl byw'n unig felly?"

"Ydw."

"Ond wyt ti ddim yn meddwl i fod e'n groes i natur a chrefydd i bobol fyw heb gwmni yn y byd?"

"Ydw."

"Nid yw'n disgwyl yn naturiol i fi, ynte, beth yw e i ti."

"Nag i mina."

"Wel, wel, sana i'n dyall peth fel hyn,' ychwanegai Sam Llwyd mewn llais oedd yn bradychu gradd o siomedigaeth. "Ond, o ran hyny, fi glywais acha lawer gwaith, taw pob un at 'i dâst 'i hun. Ac heblaw hyny, f'alla'th fod di wedi myn'd yn gyfarwydd â bywyd shiwd a hyn?"

Dim atebiad.

Parodd y dystawrwydd hwn i Sam Llwyd hefyd fath o fudandod am ryw hyd, am nas gallai benderfynu i'w foddhad ei hun pa un fyddai oreu iddo, ai myned yn mlaen ynte tewi, fel dyn wedi ei siomi mewn anturiaeth. Pa wedd bynag, efe a wnaeth un cais arall, ond heb un gradd mwy o lwyddiant nag o'r blaen.

Fel hyny yr aeth yr amser rhagddo, nes i'r dyddiau chwyddo i wythnosau, ac i'r wythnosau argoeli chwyddo i fisoedd, a Morus Draws yn parhau i fod yn gymaint dirgelwch ag erioed. Yr oedd bron bob mwngloddiwr yn edrych arno gyda chil-lygad drwgdybiol, ac yn cadw draw rhagddo gan belled ag y gellid. Ni fynai ymwelyddion fyned yn agos iddo ef na'i fwthyn. Mae'n wir y gellid gweled plant yr ysgol ambell waith yn dringo i syllu trwy y ffenestr i mewn i'w ystafell ddigysur, oedd bron yn annghyfanedd, os y gwyddent yn sicr ei fod ef allan; ond nid oedd neb, na hen nac ieuanc, a feiddiai ymyraeth âg ef na dynesu ato os na fyddai raid.

Y gwirionedd ydoedd fod holl Gwm Erfin yn arswydo rhagddo fel rhyw gyfrinach i'w ofni, er nas gallai neb roddi cysgod esgus, chwaithach

rheswm, paham yr ofnent ef. Yn wir, pan anturiodd Sam Llwyd, un noson ar ddiwedd cyfarfod yn yr ysgoldy ar fater o ddyddordeb lleol, ofyn i nifer oeddynt wedi ymdroi i drafod yr hyn oedd wedi dyfod yn gymaint cyfrinach *paham* yr oeddynt yn ofni y dyn, nid oedd neb ohonynt a fynai *gyfaddef* yr ofn, ond cydsyniai y mwyafrif fod y fath deimlad yn afresymol; er hyny, yr oedd yn ddigon amlwg fod yr ofn wedi meddianu ac yn dylanwadu yn gyffredinol ar ymddygiad y trigolion at yr hwn oedd wedi dyfod yn gymaint cyfrinach yn Nghwm Erfin.

Er mor awyddus oedd Sam Llwyd i feddwl yn ffafriol am, ac i ymddwyn yn gyfeillgar at, ei gydweithiwr, bu raid iddo yntau, ar ol mis cyfan o'i gymdeithas, ddydd neu nos, yn ol fel y byddai rheolau y gwaith yn galw,—bu raid iddo yntau gyfaddef fod y dyn tuhwnt i'w amgyffred ef. Mewn atebiad i gwestiynau a ofynai rhai cymdeithion un noswaith efe a ddywedodd :—

"Fedraf fi roi dim cownt o'r dyn na'i waith. Mae'r cwbl yn dd'ryswch i fi, ac yn gro's i'w giddil. O ran 'i natur a'i demper, mae e'n un o'r dynon bach mwyaf tawel a didramgwydd, heb byth fod mewn awydd am ddangos 'i hun. Ac eto, welais i erio'd ddim un tebyg iddo am ysgornio pob ofan a pheryg. Mae e mor ddigarcus ohono'i hun ambell waith, nes y bydd raid i fi weyd wrtho'n blaen na weithiaf fi ddim rhagor yn yr un man ag e, os na chymer fwy o garc o'i hunan a'i waith. Fi gwelais e un diwarnod yn myn'd i ramo'r powdwr i'r twll gyda dril ddur. Un noson, fe fynodd fyn'd yn ol trwy fwg oedd ddigon i ddallu a thagu dyn, er mwyn gwel'd p'un a oedd yr ergyd wedi gneud 'i gwaith ar y graig. 'Dyw e ddim o'r pwys lleia gyntho swingo 'i hun i lawr y pwll wrth raff wedi haner 'i threilo i ma's, neu ger'ed dros y wins ar blanc wedi pydru!"

"Gwed y gwir, Sam," ebai'r Capten Parri un diwrnod, "a wyt ti'n credu fod y dyn yn 'i *senses?*"

"Bydde'n haws gyda fi gredu taw rhyw dd'rysweh sy ar 'i ben e na chredu 'run shiwd a'r Tal Goginan hyn, taw euog yw e o ryw bechod sy'n pwyso ar 'i gydwybod nes peri iddo ddewis lladd 'i hun mewn rhyw ffordd fase'n disgwyl fel 'damwain.' Ond, shiwd bena am hyny, y fe yw'r criadur mwya rhyfygus a welis i erio'd!"

"Wel, wel," ychwanegai y Capten, "mae'n rhaid i ni wrth amynedd, a gofalu am beidio barnu y dyn yn rhy fyrbwyll, fel yr wy' i'n credu fod Tal Goginan a Twm Prydderch yna wedi gwneud. Mae gyda fi ffydd y daw'r *secret* i'r golwg maes o law, a hyny cyn bo hir."

---

## PENNOD IV.

WEDI i oddeutu tri mis fyned heibio heb i ddim neillduol ddigwydd yn nglŷn â bywyd cyffredin a rheolaidd Morus Gyffin, dechreuodd tafodau y baldorddwyr a blino, a'r "gwrachïaidd chwedlau" a llesgau. Ond, yn mhen tri mis, digwyddodd dau amgylchiad oeddynt yn ddigon annghyffredin i symbylu pob tafod yn Nghwm Erfin i glebar adnewyddol. Swm a sylwedd y ddau ddigwyddiad hyny oedd a ganlyn:—Un hwyrnawn tawel, darganfyddwyd fod rhyw wall peryglus ar beiriant dwfr y gwaith—mewn gwirionedd, nad oedd y peiriant yn tynu dwfr o gwbl, ac, o ganlyniad, fod gwaelod y mwnglawdd yn cael ei orlifo gyda chyflymdra difrifol. Y ffaith ydoedd, fod amryw droedfeddi o ddwfr wedi ymgroni yn ngwaelod pwll y peiriant cyn i neb ddarganfod fod dim allan o drefn.

Er mai newyddian gyda'i waith oedd y peirianydd, yr oedd wedi sylwi fod y peiriant yn chwyrnellu yn gyflymach nag arferol, a chan nad oedd efe yn gwybod yr achos paham, yn ei anwybodaeth, fe roddodd gauad a chlo ar yr ager, nes y bu'r peiriant, mewn canlyniad, yn gweithio

yn gyflym gyda llai na haner y nerth oedd arfer a bod yn angenrheidiol i'w gweithio.

Er fod y peirianydd yn teimlo fod rhywbeth pwysig allan o le, nid oedd ganddo ddirnadaeth pa beth ydoedd, a thra yn pryderu ac yn ceisio dyfalu pa beth a ddylai efe wneud, wele un o'r mwngloddwyr yn rhuthro i'r lan o waelod y pwll, gyda'r newydd syfrdanol:

"Mae'r dw'r yn codi yn y gwaelod fel rhywbeth cynddeiriog!"

Danfonwyd y newydd cyffrous gyda brys i'r Capten Parry, yr hwn a redodd gyda'i holl allu i'r peiriandy, a phan welodd yno beth oedd cyflwr yr ager, efe a floeddiodd yn gyffroedig ar y peirianydd:

"Rhodda *steam* llawn ar yr *engine* mewn moment! Y ffwl dwl! beth yw dy feddwl di wrth 'i gweithio hi gyda haner nerth y *steam?* Ti ddylet gael dy fflogian fel ci am dy stiwpidrwydd!"

"Os gwelwch yn dda, syr," ebai'r dyn, yn wylaidd ac ofnus, "mae hi wedi bod yn gwneud *strokes* rheolaidd bob mynud byth wedi i fi ostwng y stêm."

"Taw a'th glebar, y dwlyn! A wyt yn meddwl mod i'n gymaint ffwl ag yr wyt wedi profi dy fod di dy hun?"

"'Rwy'n gweyd y gwir, syr. 'Roedd yr *engine* yn myn'd yn rhy ffest o'r haner cyn i fi 'neud nerth y stêm gymint a hyny yn llai."

"Os felly," gofynai'r Capten, "pa beth, yn enw'r mawredd, yw'r achos fod y dw'r yn codi yn y gwaith?"

"Sana i'n gwybod dim am hyny, syr," oedd yr atebiad. "Sana i'n gwybod dim ond fod yr *engine* wedi gneud 'i *strokes* rheolaidd byth wedi mi ostwng y stêm i haner 'i nerth."

"Os yw hyna'n ffaith," ebai'r Capten Parry, "mae'n rhaid fod rhywbeth wedi ei bysgafnu. Ond cadw hi ar lawn nerth tra'r af fi i lawr i weled beth sydd o'i le," a brysiodd i lawr y mwnglawdd.

Yn mhen ryw chwarter awr, rhuthrodd y Capten i'r peiriandy drachefn, fel dyn ar gwympo mewn llewyg wedi colli ei anadl. Wedi ymadferu ychydig, efe a ddywedodd :

"Oferedd a gwastraff nerth yw gweithio dim rhagor ar yr *engine.* 'Dyw hi'n tynu dim un diferyn o ddw'r. Mae'n rhaid fod rhywbeth mas o le gyda chelfi'r pwmp ; ond pa fodd y mae gallu myn'd i lawr atyn' nhw'n awr, y Nefoedd ei hun sy'n gwybod ; alla' i wneud na chrybwyll dim. Ond, pa wedd bynag, y peth cyntaf raid wneud yw cael y dynion sydd i lawr y gwaith i fynu'r lan cyn y byddo'n rhy ddiweddar. 'Nawr ! —awn at hyny'n gyntaf !"

Trwy ymdrech oedd agos tu hwnt i allu dynol, yr oedd yr holl ddynion oeddynt yn ngwaelod y mwnglawdd wedi llwyddo i gyrhaedd y làn, a'r Capten Parry wedi eu casglu i'w swyddfa ger llaw, i gael cydymgynghori yn nghylch sefyllfa a rhagolygon pethau ; ac un o'i gwestiynau cyntaf ydoedd :

"'Nawr, fechgyn, beth yw'r achos o'r helynt dychrynllyd hyn ? Beth wyt ti'n weyd, Sam Llwyd ?"

"Wel, syr," atebai Sam, "'dyw hyny ddim mor hawdd i'w ateb—ddim mor hawdd i fi, ynte be'. Ond, yn ol y ticyn barn sydd gyda fi, taw *box* y swmp sydd wedi tori i mewn trwy rhyw anhap, a bod darn o bren, ne ysglodyn, ne gareg, ne rwbeth felly, wedi *jammo'r valve* yn 'i hol, ac felly mae'r plynger yn gwthio'r dw'r yn 'i ol i'r gwaith, yn lle i fynu'r pwll i'r làn. Dyna nhicyn barn i, syr."

"A finau," ebai Tal Goginan, yr hwn a fynai gael arddangos rhagoriaeth ei athrylith trwy ychwanegu : "Dylai pob peth fel hyn fod yn wers ac yn rhybudd i'r sawl a fynant ddyrchafu celfyddyd a dyfais ddynol uwchlaw pob gallu goruwchnaturiol.

"Dim o dy ffroth di yn y man hyn, Tal," ebai Capten Parry. "Ond, os yw opiniwn Sam Llwyd yn gywir, mae'n rhaid *gwneud* rhywbeth. O'm rhan fy hun, 'rwyf fi o'r un farn â Sam."

"A fina," ebai Harri Blackwell.

"A fina," ychwanegai Ifan Bach, yn nghydag amryw o'r gweithwyr eraill; ac yr oedd yn amlwg eu bod oll yn unfryd-unfarn ar y pwnc.

"Wel," meddai Capten Parry, gyda'i agwedd yn amlygu arwyddion o bryder poenus, "gan ein bod yn cydwel'd yn llawer mwy unol nag arfer, y cwestiwn nesaf i'w setlo yw, Pa fodd i gael at y drwg sydd wedi digwydd i'r *box* swmp, ac adferu'r *valve* a'r plynger i'w cyflwr rheolaidd i weithio, a hyny cyn yr elo'n rhy ddiweddar?"

Ond nid oedd neb ohonynt yn barod i gynyg barn nac awgrymiad mewn ateb i hyn, er i Twm Prydderch anturio sylwi: "Piti na fasen ni i gyd naill ai'n bysgod neu'n ddyfrgwn! Basem felly'n medru gneud y cwbl yn *all right*, trwy blyngo lawr y dw'r at focs y swmp, a thynu ma's beth bena sydd yno'n clogo'r *valve*. Ond nid pysgod na dyfrgwn yn ni, nage, Cap'n?"

Er mor ddifrifol oedd yr amgylchiad, methai Capten Parry ag ymatal rhag gwenu wrth ateb yr archymffrostiwr ofergoelus, yr hwn oedd wedi gwneuthur cymaint o niweid i Morus Gyffin yn ngolwg ei gydweithwyr:

"Nage'n wir, Twm Prydderch. Ac am danat ti, buasai yn haws dy gym'ryd am ryw elephant afrosgo nag am ddyfrgi digon pert a *sharp* i ddeifo'r dw'r."

Nis gallai'r brygawthiwr mawr lai na gwrido gan gywilydd, er ei fod yn ceisio rhagrithio gwên o foddhad oherwydd awgrym ceryddol ei benaeth; eithr ni feiddiodd gynyg gair mewn atebiad.

Ond teimlai'r Captain fod yr argyfwng yn rhy bwysig i gellwair, ac ebe fe:

"Fedraf fi feddwl am ddim ond un ffordd i achub y gwaith rhag boddi, yr hyn fyddai yn ddegau o filoedd o bunau o golled i'r cwmni, ac yn achos o starfo i lawer ohonoch chwi a'ch teuluoedd. Pe buasai dim ond un ohonoch yn digwydd bod yn ddigon galluog a mentrus fel *diver*, gallai wella'r drwg mewn moment; ond

mae'n fwy na thebyg nad oes yma neb yn ddigon galluog na mentrus i wneud y cais."

Clywai'r Capten lais tyner, addfwyn yn dyfod o'r tu cefn iddo, ac yn dweyd yn isel a phwyllog:

"Hidiwn i ddim llawer a'i threio hi, Capten."

Er mor isel oedd y llais, clywyd y sylw gan bawb yn yr ystafell, ac mewn eiliad, yr oedd pob llygad â'i drem mewn syn ryfeddod tua'r cyfeiriad o ba le'r oedd wedi dyfod.

Pan drodd y Capten i syllu drach ei gefn, cyfarfyddodd ei lygaid ef â golygon treiddgar llygaid gloewddu y dyn yr oedd y gweithwyr wedi ei lysenwi yn "Morus Draws," yr hwn oedd wedi dyfod i fynu'r pwll ac i mewn i'r swyddfa mor ddystaw a digyffro fel ag i osgoi pob sylw gan ei gydweithwyr cyffroedig; ac nid oedd yno neb yn gwybod am ei bresenoldeb yn yr ystafell hyd y foment hono.

"Beth wyt ti'n feddwl?" gofynai Capten Parry, mewn syndod dirfawr. "Ddaru i ti ddyall beth ddywedais i?"

"Dyna marn i, syr," atebai Morus, yn berffaith hamddenol a thawel.

"Ac ni hidiet ti 'ddim llawer a'i threio hi?'"

"Na hidiwn, syr."

"Ddymunwn i ddim bod yn achlysur distryw i un dyn byw; ac yr wy' i'n ofni nad wyt ti wedi cwbwl ddyall y perygl yr wyt yn cynyg ei wynebu. A wyt ti'n gwybod fod yno o bump i 'wech gwrhyd o ddw'r eiso's yn ngwaelod y gwaith?"

"Ydwyf."

"A wyt ti'n ddeifar da?"

"Mi fedraf sincio i lawr, os caf ddigon o bwysau arnaf, neu o danaf, neu o fy nghwmpas."

Yn ystod y tri mis yr oedd Morus wedi byw a gweithio yn Nghwm Erfin, dyna'r araith feithaf yr oedd neb wedi ei glywed yn ei thraddodi. Syllodd Capten Parry arno drachefn, fel pe yn petruso beth i'w wneud, gan ofni, am enyd, fod hyn yn gadarnhad o ddrwgdybiaeth y gyfran hono o'r gweithwyr a fynent nad oedd y dyn

rhyfedd yn ddim mwy na llai na gwallgofddyn. Ond, wrth sylwi ar dawelwch ei lygaid a'i wynebpryd, nis gallai goleddu'r syniad hwnw yn hwy; ac, ebe fe:

"Purion, ynte. Off â ti! Fi halaf bwysau 56 i lawr y pwll, gyda digon o'r dynion goreu i dy helpu, yn ol fel y bydd raid. Ac os l'wyddi di gyda'th fentar, fi roddaf i ti bapyr degpownd o 'mhoc fy hun, heb son dim am beth a wneir gan gwmni'r gwaith."

Cyn pen ychydig funydau, yr oedd pob gweithiwr ohonynt wedi disgyn i waelod y mwnglawdd drachefn. Gan nad pa beth oedd eu tybiau blaenorol am, a'u hymddygiadau at, eu "Morus Draws," yr oedd pob enaid byw yn awr yn argyhoeddedig fod yma i'w gael y fath arddangosiad o feiddgarwch a gwrolder nas gallent ei gael fyth ond hyny, a phenderfynent oll y mynent gael gwybod a gweled y dechreu a'r diwedd.

Morus a arweiniai'r fintai i lawr yr ysgol ar hyd pa un yr oeddynt yn arfer esgyn a disgyn y pwll. I lawr!—i lawr!—ac i lawr! Llathen wedi llathen, a gwrhyd wedi gwrhyd, i lawr ac i lawr!

O'r diwedd, wele'r dynion yn cyrhaedd arwynebedd y dwfr ymgronedig a chynyddol, a Morus, heb golli moment o amser, yn dechreu ar y parotoadau angenrheidiol tuag at wneud ei ymsuddiad ofnadwy.

Yn mhlith darpariadau eraill, yr oedd rhai planciau o goed wedi eu gosod, o un ochr i'r graig hyd yr ochr gyferbyn, ar draws yr agendor orlifeiriol!

Wele Morus Gyffin yn eistedd ar y planciau hyny, gyda'i draed bron yn cyffwrdd y dwfr ymchwyddol. Mae'n amlwg ei fod yn treulio'r ychydig eiliadau cyntaf mewn amcangyfrifiad meddyliol o ba faint o bwysau fyddai yn angenrheidiol iddo ef i ymsuddo i'r gwaelod, ac i'w gadw yno hyd nes y byddai y drwg wedi ei symud. Wedi boddloni ei hun yn nghylch hyny, rhoddodd ei gyfarwyddiadau mewn perthynas i

ddarpariadau eraill, yr hyn a gyflawnid gyda'r holl frys ag oedd gyson â dyogelwch tebygol y fath anturiaeth.

Erbyn hyn yr oedd y pwysau wedi cyrhaedd, gyda digonedd o raffau i'w cylymu wrth eu gilydd.

O'r diwedd, wele bob peth yn barod, ac yntau yn eistedd gyda rhaff ddwbl draws ei ysgwyddau, a phenau y rhaffau yn rhwym wrth y pwysau heiyrn.

Y mae hon yn foment arswydus ac ofnadwy, ac y mae'r edrychwyr bron yn methu anadlu gan angerddolder eu teimladau. Gwyddant fod y dyn ar fedr cyflawni yr hyn na feiddiai neb arall ddychymygu ei wneud, ac nis gallant yn eu calonau lai na mawrygu y fath wrolaeth ddi-ymffrost a hunanfeddianol.

Ond, er mor dawel a digyffro yr ymddengys Morus, y mae yn amlwg ei fod yntau yn teimlo pwysigrwydd y cyfwng y mae ynddo. Gesyd ei law ar ei ystlys aswy fel pe yn ceisio lleddfu curiadau angerddol ei galon. Yna, y mae yn taflu o'i amgylch un edrychiad cyflym, caredig, a maddeugar ; ond nid yw yn yngan gair.

Y foment nesaf, y mae yn ymlithro yn ddystaw oddiar y planciau i'r dwfr. Nid oes yna ddim ysplachiad. Y mae'r dyfroedd yn ymwahanu, ac yna yn amgau ar amrantiad llygad. Canfyddir ychydig o yswigenod gweigion yn cyfodi ac yn diflanu, ac ychydig o gylchfodrwyau dwfr, y naill ar ol y llall, yn ymledu yn ddibaid tua'r creigiau oddiamgylch, ac yna y mae pob peth a phawb gan ddystawed â "glyn cysgod angau," oddieithr pan y mae y dystawrwydd yn cael ei dori unwaith gan un o'r dynion yn gollwng allan o eigion ei enaid y geiriau cynhyrfus,

"Y Nefoedd fawr!"

## PENNOD V.

Y MAE pryder y mwnwyr yn angerddol tra yn disgwyl am ryw argoel o beth yw tynged Morus Gyffin yn ngwaelod yr agendor sydd yn ymddangos iddynt hwy fel math o bydew gorlawn o ddwfr colledigaeth.

Nid oes neb ohonynt yn beiddio dywedyd gair; ond y mae pob un, heb yn wybod y naill i'r llall, ac yn hollol oddiar ryw hunan-gymhelliad nas gallant ei wrthsefyll, yn dechreu cyfrif nifer yr eiliadau er pan wnaed yr ymsuddiad.

Un, dau, tri, pedwar, pump!

Ar hyny, wele'r Capten Parry yn disgyn y pwll ac yn cyrhaedd y fintai bryderus, gyda fflasgen o frandi i'w gweled yn pefrio o'i boced.

"Aeth ef i lawr?" gofynai, mor ddystaw a phe buasai yn ofni clywed ei lais ei hun.

Amneidiad â'r pen oedd yr unig atebiad a allai y dynion roddi, ac yna aethant yn mlaen i gyfrif fel cynt, hyd nes cyrhaedd yr ugeinfed eiliad.

Y cyfrif yn parhau, a'r pryder yn cynyddu. Dyna'r degfed eiliad ar hugain wedi ei rifo—y deugeinfed—haner cant—tri ugain; ond heb yr ysgogiad na'r argoel lleiaf ar y dwfr, amgen na'i fod yn parhau i gyfodi ac ymchwyddo yn ddystaw a didor.

Pan gyrhaeddir y degfed eiliad a thriugain, y mae ofn yn dechreu cymeryd lle gobaith. Ymddengys fel pe buasai canrif wedi myned heibio er pan yr oedd y dyn wedi gwneud ei ymsuddiad, a dechreuir ofni mai y tebygolrwydd yw na ddaw efe byth i fynu yn ol ac yn fyw. Pa wedd bynag, nid oes air yn dyfod o enau neb. Gyda'u canwyllau wedi eu goleuo hyd eithaf gallu celfyddyd yr amser, a chyda'u gyddfau yn ymestyn dros yr agendor, y maent yn sefyll yno yn ddelwau byw o ddystawrwydd, gwyliadwriaeth, ac anobaith.

Y mae rhai ohonynt wedi ymatal rhag anadlu hyd yn hyn, ond nis gallant wneud hyny yn hwy, a dyna ochenaid hirlaes yn cael ei thynu o aml i fynwes orlwythog, ac yn tramwy mewn goslef leddf trwy y drifftiau di-wawr, ac yn trengu yn arafaidd, fel adsain galarnad, yn y pellder dwfn.

Nid hawdd ydyw egluro cyflwr cythryblus calon a meddwl y Capten Parry erbyn hyn. Y mae yn dechreu holi ei hun gyda golwg ar ei gyfrifoldeb personol ef yn nglyn â'r amgylchiad, os y cyll y dyn ei fywyd. Yr ymholiad meddylיol sydd yn ei boeni fwyaf ydyw, "A oedd yn iawn i fi ganiatau iddo beryglu ei fywyd gyda'r fath anturiaeth erchyll; a gwaeth fyth, temtio'r dyn, oedd eiso's yn ddigon rhyfygus, trwy bromiso iddo wobr am ei ryfyg?"

Y mae hyn yn gorlwytho ei enaid fel gwewyr euogrwydd. Efe a geisia leddfu ei boen meddyliol trwy ymresymu rhyngddo â'i hun:—

"'Does dim dadl yn nghylch y bydd yn arbed colled o filoedd lawer o bunau, os y gellir gwella'r gwall trwy'r fath foddion, mor fuan a di-gost. Ond beth yw arian ac aur i'w cymharu â bywyd dynol? Beth fydd gan ddeuddeg o ddynion ar eu llw i weyd ar y mater pan wneir y cwbl yn hysbys yn llys y gyfraith?"

Ond atelir ei ymson trwy i ychydig o yswigenod gwyntog chwareu eto ar wyneb y dyfroedd islaw, yr hyn a bâr i bob llygad rythu a cheisio darganfod beth y mae hyn yn ei argoeli.

Yn mhen eiliad drachefn wele ddarn o bren yn trywanu i'r gwyneb fel saeth yn cael ei anelu gan heliwr cadarn.

Sam Llwyd yw y cyntaf i lwyddo i gipio'r darn pren, yr olwg ar ba un a bâr i'r Capten, fel y dynion oll, gymeryd anadliad dwfn a hyglyw, megys o ymryddhad bendithfawr a hirddisgwyliedig.

Y mae hyn yn cael ei ddilyn gan un, dwy, tair, moment o bryder sydd bron yn llewygol yn ei angerddolder.

Clywir bloedd unllais-unllef yn cael ei dyrchu o bob mynwes,—"Dyna fe, yn fyw!" ac wele wyneb gwelw, dirdynedig, angeuol ei wedd, yn ymddangos am eiliad ar wyneb y dwfr; a'r foment nesaf y mae nifer o ddwylaw cedyrn yn tynu y corph diymadferth o'r lle oedd bron wedi bod iddo yn ddyfrllyd fedd, ac yn ei gludo i'r lefel gerllaw.

Egyr Morus Gyffin ei lygaid am un amrantiad, a thra y mae gwên egwan yn ymdaenu dros ei wyneb, clywir ef yn sibrwd yn arafaidd a bloesg,

"Ffrindiau—mae'r—gwaith—wedi—cael—ei wneud!" Yna gwyra ei ben yn ol, a chaua ei lygaid drachefn.

"'Rwy'n ofni fod hi wedi darfod am byth ar y dyn gore welis i erio'd," sibrydai Harri Blackwell mewn goslef gryglyd a thaglyd, tra yn sychu'r ewyn oedd yn ymgroni ar wefusau y gwron dinerth.

"Fina hefyd," ebai Ifan Bach, "mae o wedi gweithio'i stem ola, *poor fellow.*"

Ond nid oedd y naill na'r llall yn meddu yr anrhydedd o fod yn wir brophwydi. Daliwyd ati i rwbio a chynhesu y truan gydag egni dirfawr a dibaid, ac yr oedd chwarter awr o hyny wedi effeithio'r peth agosaf i wyrth arno. Cyn pen haner awr, yr oedd wedi ymadferu digon i beri i Capten Parry a'i gynnorthwywyr deimlo y gellid yn ddyogel ei gludo i'r làn, yr hyn a wnaed gyda phob brys oedd gyson â gofal, a'r hyn a gyfiawnhawyd gan ei ymddangosiad wedi cyrhaedd y làn.

O dan ofal a chyfarwyddyd meddyg penaf y fro, am dridiau a theirnos cyfain, gorweddai Morus Gyffin mewn gwely glân o fân-blu esmwyth, o fewn ystafell wedi ei dodrefnu yn chwaethus a'i haddurno yn swynol, yn nhŷ'r Capten Parry, nes peri iddo ddychymygu ambell waith ei fod wedi huno yn angau, ac wedi ei gludo i'r Baradwys nefol y clywodd ac y darllenodd am dani.

Erbyn y pedwerydd dydd, yr oedd yn alluog

i eistedd mewn cadair freichiau eang ac esmwyth gerllaw y ffenestr, o'r lle y gallai fwynhau yr olwg ar y goleuni yn pelydru ar yr afon yn y dyffryn islaw, a gwylied y mwngloddwyr ar y ffordd i'w gwaith ac yn ol.

Dyna lle'r eisteddai y naill awr ar ol y llall, heb symud aelod na siarad gair, megys dyn yn gweled ac eto heb weled, neu ynte fel pe byddai ganddo ryw weledigaeth tuhwnt i'r ffordd—tuhwnt i'r afon—tuhwnt i'r dyffryn—tuhwnt i'r mynyddau a warchodent y cwm—draw, draw, mewn rhyw bellderoedd anweladwy i bawb ond efe ei hun.

Er na chymerai y sylw lleiaf o neb o'i garedigion, ac er na ddywedai ddim mewn atebiad i unrhyw gwestiwn heblaw yr hen "Ie" neu "Nage," a'u cyfystyron mwyaf syml, yr oedd pawb mor ofalus ohono a charedig ato a phe buasai teyrnas ac ymerodraeth yn dibynu ar ei fywyd.

Aeth y dyner-galon Mrs Parry i'r ystafell ac yn ol drachefn a thrachefn heb ddywedyd dim rhag ofn cyffroi neu boeni eu gwesttywr hynod; ac un waith aeth Lilian fach—unig blentyn Capten a Mrs. Parry—i mewn yn ofnus, gan gerdded yn wylaidd ar flaenau ei thraed, anturio i fynu ato, dodi ei llaw fach felfedaidd ar ben ei lin, ac edrych i fynu yn ddifrifol ar ei wyneb gwelw; ond ni chymerai efe un sylw ohoni, a diangodd y fechan o'r ystafell yn llawn mor wylaidd, ond yn llawer mwy brysiog nag yr aeth i mewn.

Y prydnawn hwnw, ar ei ddychweliad adref o'i swyddfa, canfu'r Capten Parry fod ei unig blentyn, Lilian, wedi cael ei dychrynu gan ymddygiad hynod Morus Gyffin, a'i gwestiwn cyntaf ydoedd yn nghylch cyflwr eu gwesttywr; ac wedi peth ymddyddan a dyfalu, anturiodd Mrs. Parry sylwi:—

"'Rwyf fi'n teimlo'n berffaith siwr fod rhywbeth difrifol a phwysig yn trwblo meddwl y dyn truan, a buaswn yn hoffi'n fawr gallu gwybod

beth ydyw, a disgwyl tybed nad oes modd g'neuthur rhywbeth i'w wella."

"Dene ch'i eto!" ebai'r Capten dan wenu, ac ychwanegodd, "ond benyw a fydd benyw byth. Shiwd bynag, 'rwyn ofni na chaiff eich *curiosity* yn y mater hyn ddim ei foddloni byth."

"Peidiwch bod yn rhy siwr am hyny," atebai y foneddiges. "Fe all amser ac amynedd ddwyn i ben bethau mwy rhyfedd na hyn."

"Gall hyny fod; ond y mae'r dyn hyn yn mynd' yn fwy o ddirgelwch i bawb po fwyaf a welir ohono. 'Ry'ch yn cofio i fi weyd fod Twm Prydderch wedi pallu cydweithio âg e', ac wedi ta'nu'r streuon mwyaf dychrynllyd am dano. Ac yn awr, dyma'r dyn gore yn y gwaith —Sam Llwyd—wedi bod yn bartner iddo fe am yn agos i dri mis, ac wedi profi 'i hunan yn berffaith ffrind iddo, ond eto yn ffaelu gwneud dim ohono fe. Ac am ei blwc a'i ryfyg ofnadwy y dydd o'r blaen, a'i lwyddiant yn cyflawni'r peth a wnaeth, heb golli 'fywyd, does dim enaid byw'n gallu esbonio'r peth! A dyma ch'ithau, a'r doctor, ac hyd yn oed Lilian fach, wedi ffaelu cael dim i ma's ohono. Yn wir, os yw'ch holl garedigrwydd yn effeithio rhywbeth arno, ei wneud yn fwy anhawdd i'w ddyall y mae hyny."

Edrychai Mrs Parry yn ddifrifol a thosturus, tra yn ychwanegu:—

"Wel, wel, allaf fi ddim llai na theimlo piti dros y truan! Ond, er hyn i gyd, mae rhywbeth o fy mewn yn whispro y bydd i mi dd'od o hyd i waelod yr holl gyfrinach cyn bo hir."

"Os oes rhywbeth neu rywun a ddaw o hyd i waelod yr holl gyfrinach hon," atebai'r Capten yn gellweirus, "fi wnawn bet mai merch ne wraig fydd hono; a deg i un, pan gaiff hi 'hyd i'r gwaelod,' y daw hi hefyd o hyd i ferch ne wraig arall yno."

Yn mhen ychydig ddyddiau wedi yr ymddy-

ddan uchod, yr oedd Morus Gyffin wedi gallu dyfod i lawr y grisiau ; ac yn mhen yr wythnos, efe a fynai ddychwelyd i'w fwthyn bach unig a digysur, er cymaint yr ymdrech a wneid i'w berswadio i'r gwrthwyneb. Yr unig atebiad a roddai i ymbiliau caredig y Capten Parry, a dadleuon y meddyg, oedd ysgydwad nacaol ar ei ben.

Pan gafodd ei droed ar y gorddrws wrth ymadael, safodd am foment neu ddwy gyda'i ben yn gwyro at ei fron, a chan ymddangos fel darlun o ddyn mewn rhyw betrusder dwys. Yna trodd yn ol i'r ty, a dywedodd yn lleduais :—

"Yn wir, Mrs Parry, coeliwch fi, buasai'n dda genyf fedru dweyd gymaint wyf yn diolch i chwi !" a thra yn gwneud y fath araith anghyffredin iddo ef, yr oedd y dagrau yn llenwi ei lygaid. Gwyra i Mrs Parry ei phen i geisio celu yr arwydd o ddyfnder teimlad a fradychai ei gwyneb caredig, a phan gododd ei phen, y foment nesaf yr oedd Morus Gyffin wedi diflanu.

Bychan a ddychymygai ef na neb arall gymaint oedd yn dibynu ar ei waith yn dychwelyd i'w fwthyn y diwrnod a'r awr y gwnaeth. Gwirionedd pur yw llinellau awenyddol Gwalchmai :—

Preswylio'r ydym yma 'nghyd
Yn nghanol byd gofalon,
Heb neb yn gallu, ar y llawr,
Ragweled fawr o'i droion," &c.

Yr ydys yn cerdded rhagom fel deillion, heb weled dim o'r hyn sydd o'n blaen, ac eto byddai yn ddichon i un ysgogiad i'r dde neu yr aswy achosi cyfnewidiad ar holl hanes a nodweddiad ein bywydau a'n tynghedion.

Profwyd hyny gan waith Morus Gyffin yn mynu dychwelyd yr hwyr hono i'w gottas diwawr, lle y cysgodd unwaith drachefn ar ei fatres caled a garw.

Bore dranoeth, efe a gyfododd gyda'r wawr, ac wedi cyneu y tân, dechreuodd gogino ei foreufwyd mor hamddenol a phwyllog a phe buasai yn cyflawni y gorchwyl mwyaf dymunol.

Digwyddai fod rhyw ddyeithr-ddyn yn myned heibio ar y pryd ac ar yr ochr hono o'r ffordd, ac wrth sylwi fod drws bwthyn Morus Gyffin yn agored, fe'i meddianwyd gan ryw ymgymhelliad anorthrechol i edrych i mewn, er ei fod yn teimlo ar yr un pryd ei fod yn gwneud yr hyn na ddylasai mewn un modd. Ond, fel yr awgrymwyd, yr oedd yr ymgymhelliad disyfyd ac anesboniadwy yn rhy nerthol iddo allu ei wrthsefyll. Aeth i mewn i'r ystafell, a'r foment nesaf cafodd ei hun yn sefyll wyneb yn wyneb â thenant y bwthyn.

Syfrdanwyd Morus gan y weledigaeth. Yn wir, buasai yn anhawdd penderfynu pa un o'r ddau ddyn oedd yn arddangos y gradd mwyaf o synryfeddod.

"Beth!" meddai'r dyeithryn, wedi cael moment o seibiant, "beth a welaf? ai ti *yma?*"

"Ai *tithau* yma?" oedd atebiad Morus.

Dilynwyd hyn gan ddystawrwydd dwfn a phoenus, yr hyn a barhaodd am rai munydau. Syllai'r ddeuddyn ar eu gilydd, gan edrych fel pe yn petruso beth a gaffai'r naill a'r llall ei ddywedyd nesaf. Ond Morus oedd y cyntaf i siarad. Eb efe,—

"Cau a bolltia'r drws yna; ac wed'yn gallwn gael ymgom cyhyd ag y mynom heb i neb ein haflonyddu."

Ufuddhaodd y dyeithryn heb ddywedyd dim; a phan oedd y drws wedi ei folltio, pwyntiodd Morus at yr unig gadair oedd yn y ty, yn arwydd i'r dyeithryn ei chymeryd ac eistedd. Yntau a ufuddhaodd drachefn, a llusgodd Morus flocyn o bren i'r aelwyd, gan eistedd wrth draed yr ymwelydd rhyfedd.

Bu yspaid fer o ddystawrwydd cydrhyngddynt drachefn, a Morus Gyffin oedd y cyntaf i dori ar y dystawrwydd yr ail waith.

---

## PENNOD VI.

RHODDASOM eisoes i'r dyeithryn a gyfarfu â'i hen gydymaith, Morus Gyffin, *megys* ar ddamwain, y cymeriad o "ymwelydd rhyfedd;" a dyna fel y profodd ei hun. Ond ni pherthyn i ni ragfynegi'r ffeithiau cyn tymp naturiol eu datguddiad.

Gadawsom y ddau—Morus Gyffin a'i ymwelydd annisgwyliedig—yn eistedd ger y tân oedd newydd gael ei gyneu, a Morus yn myned i ofyn,—

"Pa bryd y deuaist i'r gymydogaeth yma?"

"Gyda'r nos neithiwr," oedd yr ateb cwta.

"Am ba hyd yr wyt yn bwriadu aros yma?"

"Dim hwy nag y caf fy moddloni yn nghylch cyflwr a phris rhyw waith sydd yn cael ei gynyg ar werth yn y plwy nesaf."

"O, mae'n dda gen i nad wyt ti am aros yn hir," ebai Morus. "Nid oes neb yn y cwm yn fy 'nabod—neb hyd yn nod yn gwybod fy enw yn iawn, er fod ganddyn nhw lysenw ôd arnaf."

"Dim odiach nag wyt ti'n haeddu, mi wnawn lw," ebai'r dyeithryn; "achos, fel y clywais un o'r creaduriaid yna a alwant yn feirdd yn dweyd y dydd o'r blaen, 'myn einioes Pharo,' welais i neb erioed yn actio'n odiach na phan ——"

"Na, paid," meddai Morus, "fedrwn i ddim aros yn Llan—— ar ol——"

"Ar ol i ti wneud ffwl ohonot dy hun," meddai'r dyeithryn ar ei draws.

"Ar ol i mi gael fy ngwneud yn ffwl gan eraill, sydd debycaf i'r gwir," atebai Morus, â'r gwrid yn codi i'w wyneb.

Dodai'r dyeithryn ei wefusau dan ei ddanedd mewn diffyg amynedd.

"A ydyw hi yno o hyd?" gofynai Morus cyn i'r llall gael amser i siarad.

"Yno o hyd! Wyt ti ddim yn gwybod? Chlywaist ti ddim?"

"Chlywais i ddim gair," oedd yr atebiad.

"Mae hyna cystal a chyfaddef nad oedd arnat ti *eisiau* gwybod dim," ebai y dyeithryn yn geryddol a llym.

"Hwyrach hyny," oedd yr atebiad; "ond, sut bynag am *a fu*, mi ddymunwn gael gwybod *yrwan*."

"Felly, mi ddeudaf wrthot ti," ebai y dyn dyeithr. Ond cyn ei fod wedi siarad haner dwsin o eiriau, yr oedd Morus wedi neidio ar ei draed—ei wyneb wedi gwelwi drachefn, ei ddyrnau wedi eu cloi, a'i lygaid yn rhythu fel pe yn barod i neidio allan o'u socedi.

Nid oedd y dyeithryn yn ddyn aml-eiriog; felly, yr oedd y newydd a draethodd i Morus Gyffin yn cynwys "llawer mewn ychydig," ac ni chymerodd onid ychydig fynudau i'w fynegu, yn gymaint ag na ddarfu i Morus gynyg dweyd gair ar ei draws.

Pan orphenodd y dyn ei raith, cyfododd o'i gadair yn arafaidd, ac am ychydig eiliadau efe a syllai ar Morus mewn dystawrwydd llwyr. Os oedd yn disgwyl araith mewn atebiad, cafodd ei siomi. Un waith neu ddwy fe ellid gweled gwefusau marmoraidd Morus yn ymsymud fel pe buasai yn meddwl siarad, ond ni ddiangodd un sain trwyddynt.

"Rhaid i mi fyn'd yrwan," ebai'r dyeithryn

o'r diwedd. "Myn'd a dy adael di yn nghwmpeini dy gydwybod, os oes gen' ti'r fath beth; myn'd a rhoddi llonydd i ti i gynull cynhauaf dy weithredoedd dy hun!" Plygodd Morus ei ben, tra'r oedd dagrau yn llenwi ei lygaid. Yna cerddodd ac agorodd y drws, pan yr ychwanegodd y dyeithryn,—

"Os wyt yn bwriadu, ac os y medri wneud rhyw fath o iawn, gwna hyny ar frys. Ond yn y cyfamser, ddywedaf fi ddim un gair ychwaneg ar y mater."

Dyma fel yr ymadawodd y dyeithryn, ar derfyniad y cyfarfyddiad hynod ac annisgwyliadwy. Bolltiodd Morus y drws drachefn, ac ymdaflodd i'w gadair fel dyn cwbl ddiymadferth o ran ei adnoddau corphorol. Er hyny, efe a ymsoniai yn ei feddwl:—

"Dyma gyfwng arall wedi dyfod, nas gall lai na phrysuro'r diweddiad! Beth a fydd hwnw sydd ddirgelwch i mi. Ond y mae un peth yn amlwg, a hyny ydyw, fod yn rhaid i mi ei chlirio hi oddiyma, doed a ddel;" ac o dan symbyliad aruthrol, a chydag ymdrech ag y gallesid ei ddyfarnu tuhwnt i allu dyn yn ei gyflwr ef, neidiodd ar ei draed, estynodd ei ysgrifbin, ei bapyr a'i inc, ac ysgrifenodd nodyn byr a destlus. Yna cymerodd awr neu ddwy o orphwysdra, er mwyn ceisio ymadferu oddiwrth effeithiau y cyffro yr oedd newydd fod tano.

Yn ystod y dydd tranoeth, yr oedd y si wedi ymdaenu trwy Gwm Erfin fod Morus Gyffin—yr hwn nas beiddiai neb ei alw yn "Morus Draws" wedi'r gwrhydri a gyflawnodd yn y mwnglawdd —wedi diflanu o'r lle. Ei "bartner" Sam Llwyd oedd y cyntaf i wneud y darganfyddiad. Yr oedd Sam wedi myned i wneud ymholiad yn nghylch iechyd ei gymrawd, ac i edrych a oedd rhywbeth ag y gallai ef ei wneud i'w gynorthwyo mewn rhyw fodd. Curodd y drws, ond nid

oedd llais na neb yn ateb. Aeth i mewn, a chafodd y lle yn wag o'i breswylydd. Ar silff y ffenestr, yr oedd nodyn wedi ei gyfeirio at berchenog y bwthyn, ac yn cynwys swm ardreth un wythnos. Yr oedd yr ychydig ddodrefn wedi cael eu gadael oll fel yr arferent fod. Parodd hyn syndod naturiol i Sam, ond er hyny, ni ddywedodd ddim wrth neb hyd y prydnawn, pan yr aeth i mewn i'r bwthyn drachefn; a phan ganfu nad oedd Morus wedi dychwelyd, efe a aeth ac a fynegodd y cyfan i Capten Parry.

Cyn pen yr awr, yr oedd holl Gwm Erfin yn gwybod fod "y dyn rhyfedd" fel y gelwid ef gan rai, wedi diflanu o'r lle yn llawn mor ddirgelaidd ag yr oedd wedi ymddangos yno dri mis cyn hyny. Y gyfrinach hon a'i chysylltiadau oedd testyn pob ymddyddan gan yr holl drigolion, ac amrywiol oedd y dyfaliadau a'r tybiau a goleddid gan hen ac ieuanc ar y pwnc. Nid oedd dadl yn meddwl rhai doethion yn nghylch mai "wedi gwneud diwedd arno'i hun yr oedd y dyn," a phe y gwneid ymchwiliad, y byddid yn sicr o gael hyd i'w gorph yn ngwaelod rhyw bwll oedd wedi myned yn ddiwaith. Ond yr oedd eraill yn ysgornio y dybiaeth hon, gan ymresymu, yn ddigon naturiol:—

"Os oedd ar y dyn eisio rhoi pen ar 'i fywyd, pa'm na wnelsai e hyny pan y deifiodd i waelod y dw'r er mwyn achub y gwaith? B'asai moment arall yn ddigon am byth."

Tal Goginan a gymerai fantais o'r amgylchiad i ddadlu dros gywirdeb ei ddrwgdybiaeth flaenorol, a phriodoldeb y ffugenw a roddodd efe ar Morus Gyffin trwy ei alw yn "Morus Draws," ac ebai ef mewn cwmni o weithwyr un noson:—

"Cadarnhad yw hyn eto o wirionedd yr hyn a 'wedais i o'r dechre, sef yw hyny, taw euog yw e o ryw drosedd ysgeler; ac yn awr, wedi cael

ar ddeall fod darganfyddiad a chyfiawnder ar ei warthaf, wele fe yn ceisio osgoi y naill a'r llall trwy ddianc yn lladradaidd a chuddiad ei hun. Mor wired a mod i yn Fardd yn ol Braint a Defawd Beirdd Ynys Prydain, chwi gewch weled mod i'n Brophwyd hefyd, a mod i wedi rhag-fynegi gwir gymeriad, a chywir egluro helynt bresenol y dyn."

"*Dyn!*" gwaeddai Twm Prydderch, gyda chysondeb a sefydlogrwydd oedd hollol newydd yn ei gymeriad a'i hanes ef,—"*Dyn!* Fi wedais o'r dechre, a fi wedaf yn awr, a fi wedaf am byth, nad yw e yn neb na dim ond y d—— mewn siapsach dyn; ac yn awr, am rwbeth na sana i'n gwybod be, dyma fe wedi cilio fel ysbryd yn ol i'w siapsach 'i hun."

Ond, er gwaethaf y drwgdybiau hyn a'u cyffelyb, nid oedd cymeriad Morus Gyffin yn amddifad o amddiffynwyr penderfynol a selog, y rhai a roddasant gymeradwyaeth uchel a gwresog i Sam Llwyd pan y dywedodd mewn atebiad:—

"Mae arna i gwiddil gwrando ar shiwd ffwl-bri gwael ag y mae rhai ohonoch chi'n glebran. Sgwyliwch ar hanes preifat bywyd dystaw y dyn byth er pan y daeth e i'r lle hyn dri mis yn ol. Pwy ohonon i gyd sydd wedi gneud cwarter cymint o les ag e? Pwy weithws gymint *extra* twrn mor barod a thawel ag e, er mwyn helpu cymydog fydde'n rhy dlawd o iechyd i weitho? Pwy ranws mor amal o'i enill 'i hun at helpu gwidw dlawd a phlant ymddifad? A'r foment hyn, pwy ohonoch i gyd a fedar bointo at un act wael ac anngharedig a wnaed gynddo fe? 'Does dim un yn y lle'n gwbod iddo erio'd golli'i dempar, na phallu mewn gwaith, na chilio rhag peryg, na gweyd dim ond y gwir. Ac os na welwyd e'n amal mewn capel ne eglwys, 'does neb yn cofio'i wel'd e'n eistedd mewn tafarn, na chymyd rhan mewn sport. 'Doedd e byth yn

medlaeth â neb, na byth yn cwryla â neb. Y gwir am dani yw hyn, unig bechod y dyn oedd pallu gadel i ni wybod dim o'i secret na'i hanes. Felly, mae'n gwiddil i neb ei farnu ar gam!"

Ond, er mor wresog oedd amddiffyniad Sam Llwyd o'i ddiweddar gydweithiwr, nis gallai yntau lai na chyfaddef fod y frawddeg olaf o'i araith amddiffynol yn awgrymu rhyw gyfrinach, rhyw ddirgelwch—a hwnw yn ddirgelwch nad oedd yn debyg, bellach, y ceid byth eglurhad arno. Yr oedd y dyn wedi dyfod i Gwm Erfin o rywle nas gwyddai neb o ba le. Yr oedd wedi myned i rywle nas gwyddai neb i ba le, ac mewn modd nas gallai neb ddirnad pa fodd.

---

## PENNOD VII.

Fel hyn yr aeth pethau yn mlaen am amser maith; a'r bwthyn lle'r arferai Morus Gyffin drigianu yn ystod ei arosiad byr yn Nghwm Erfin, yn parhau yn wag. Er fod poblogaeth y Cwm yn cynyddu yn gyflym, mewn canlyniad i ddarganfyddiad adnoddau lawer o fwn gwerthfawr ac agoriad amryw fwngloddiau newyddion, yr hyn a at-dynai ganoedd o weithwyr dyeithr i'r lle o bob cwr o'r Dywysogaeth, a'r hyn hefyd a wnelai bobpeth ar enw ty yn anhawdd ei gael ac yn werthfawr fel eiddo, methai perchenog hen fwthyn Morus Draws a chael neb i gymeryd a phreswylio hwnw. Yr oedd y grediniaeth wedi gwreiddio yn y fro fod y ty yn cael ei feddianu gan ysbrydion. Pa bryd a pha fodd y dechreuodd yr ofergoel, nid oedd neb a allai ddywedyd. Er hyny, yn hytrach na lleihau, cynyddu yr oedd

y chwedlau am "Fwgan ty Morus Draws," a chlywid pobl yn datgan "na chymerent hwy mo'u pwysau o aur am fyw yn y fath dŷ!" Ac felly y parhai yn wag.

Ond er hyny, nid oedd y goel a barai i bobl ofni ei breswylio yn ddigon i atal rhai plant direidus a beiddgar rhag myned yn lladradaidd i'r bwthyn i niweidio ac yspeilio yr ychydig ddodrefn a gynwysai, yn ychwanegol at y niwaid a achosid gan effeithiau y tywydd ar le diwres.

Gresynai Sam Llwyd oherwydd hyn; a chan ei fod yn methu cael ymwared o ryw syniad parhaus y byddai Morus Gyffin yn sicr o ddychwelyd, yn hwyr neu yn hwyrach, efe a benderfynodd gymeryd y bwthyn o dan ei ofal ei hun. Aeth syndod dirfawr trwy y fro pan ddeallwyd fod Sam wedi ymgymeryd â gosod y lle mewn trefn, cyneu tân ynddo bob boreu fel yr elai heibio ar ei ffordd i'r gwaith, a chadw gwyliadwriaeth fanol arno ddydd a nos.

"Gan nad pa beth am *euogrwydd* y Morus hwnw," ebai Tal Goginan wrth gymydog, un boreu, "mae Sam yn ymddwyn yn llawn mor debyced, os nad tebycach, i ddyn *gwallgof*. Beth ond gwallgofrwydd ydyw hyn?"

Pa fodd bynag, fel hyn yr aeth pethau yn mlaen y naill fis ar ol y llall, heb nemawr gyfnewidiad yn amgylchiadau y Cwm, amgen na bod amser yn peri i bobl flino trafod, ac hyd yn nod ddechreu annghofio yr hyn a ddaeth bellach yn gyfran o fywyd beunyddiol Sam Llwyd. Ond wedi i amser maith fyned heibio felly, fe achoswyd syfrdandod newydd trwy holl Gwm Erfin.

Ar ei ffordd adref o'r gwaith un prydnawn, trodd Sam Llwyd i fwthyn Morus Gyffin, ac wedi gweled fod pobpeth yn iawn, aeth allan gan gau y drws, heb ei gloi, gan y bwriadai ddychwelyd ychydig yn hwyrach i gyflawni rhyw orchwyl bach neu ddau.

Yr oedd yn dechreu tywyllu pan y dychwelodd Sam, a phan aeth i mewn i'r ystafell cafodd ei daro â math o syfrdandod oedd bron yn llewygol.

Yn yr unig gadair oedd yn y ty, efe a ganfyddai yn eistedd rywbeth ar ffurf dyn, gyda'r gwyneb at yr aelwyd ; ond, efe a ddychymygai nas gwelodd yn ei fywyd gymaint tebygrwydd rhwng dau wrthrych ag a ganfyddai rhwng y ffurf hwnw a'i hen gydymaith Morus Gyffin. Ni fu Sam erioed yn ddyn ofergoelus, fel ei gydweithwyr, ond yn ei fyw nis gallai atal rhyw fath o iâs oedd yn treiddio trwyddo hyd yn nod at flaenau ei fysedd. Ond, am foment neu ddwy, nis gallai symud na dywedyd dim ; a safai heb wybod beth nesaf i'w wneud.

Wedi dal i syllu am rai eiliadau, ac i'w olygon ddyfod yn fwy cynefin â'r goleuni hwyrol egwanaidd a dreiddiai i'r ystafell, daeth Sam Llwyd yn llwyr argyhoeddedig mai Morus Gyffin neu ei ysbryd oedd y ffurf a eisteddai mor ddiysgog yn y gadair o'i flaen. Ond gwrthododd y syniad am yr *ysbryd* gan gynted ag yr oedd wedi ymgynyg i'w feddwl. "Na," ebai ef wrtho ei hun, "nid rhith sydd yma, ond cnawd ac esgyrn y dyn ei hun." Yna dynesodd ato, ac ychwanegodd yn hyglyw :—

"Morus Gyffin ! Wel, mae'n ddau gyda fi dy wel'd wedi d'od yn ol yn fyw, a gybeithio i fyw. Ond, pa bryd y daethost ti?"

"Dim ond ychydig funydau yn ol," oedd yr atebiad digyffro, ond ei fod yn cael ei ragflaenu gan ochenaid ddofn, fel pe buasai'r dyn yn teimlo ei fod yn cael rhyddhad oddiwrth ryw ddirwasgfa drom ; ac yna ymdaenodd gwên egwan dros ei wyneb, tra yr ychwanegai gyda mwy o barodrwydd i siarad nag a welodd Sam Llwyd erioed o'r blaen,—"Mae'n dda gen i dy weled tithau, Sam—yn dda iawn," a chyfododd o'i gadair,

"Eistedd yna," ychwanegai Morus—canys ein harwr ei hun ydoedd—"eistedd yn y gadair, minau a eisteddaf ar y blocyn yna unwaith eto; a gad i ni gael tipyn o ymgom tra bo siawns fel hon i'w chael."

Ond parhai Sam Llwyd i sefyll fel pe na buasai wedi clywed. "Ha!" ebai Morus drachefn, "yr wyt yn edrych fel dyn wedi synu; a pha ryfedd? Ond allwn i ddim siarad pan fyddet ti a finau hefo'n gilydd o'r blaen. Yr oeddwn i'n meddwl—ond na hidia ddim o hyny. Yr wyf yn gwybod gwell neu waeth pethau yrwan. Y mae hi wedi myn'd, ac nid oes dim rhaid i mi gadw fy nghyfrinach i mi fy hun yn hwy."

"Prin 'rwy'n dy ddyall di," ebai Sam gan ddyfod yn nes, pwyso ei benelin ar y silff uwch-ben-tân, a gwrthod cymeryd y gadair na'r "blocyn."

"'Does dim llawer o wahaniaeth," ebai Morus. "Chymer o fawr o amser i mi ddweyd y cwbl ag y teimlwn yn ddyledswydd arnaf ei fynegi i ti, cyn yr elo yn rhy ddiweddar. Echdoe y glaniais i yn Lerpwl; ac felly, ti weli nad oedd modd i mi ddod yma'n llawer cynt. Canu ffarwel i ti a'r hen gaban yma oedd fy unig neges yn dod, a theimlwn, ond i mi gael gwneud hyny, y gallwn fod yn foddlon i wynebu y diwedd."

"Ond pa reswm sy gen *ti* i son am y *diwedd*?" gofynai Sam, yn fwy brysiog nag oedd arferol iddo ef. "'Dwyt ti ond dyn ifanc eto, yn mlode dy ddyddie."

"Gwir, o ran yr oedran," oedd yr atebiad, "ond y mae'r hyn yr aeth y corph a'r meddwl trwyddynt er's cryn amser bellach wedi cael yr effaith naturiol ar y naill a'r llall. Ond pa wahaniaeth am hyny? Nid oes mewn bywyd ddim swyn mwyach i mi."

"Ond yn enw pob rheswm, *pa'm* yr wyt ti'n gweyd shiwd beth?" gofynai Sam drachefn, gyda'r unrhyw sydynrwydd ag o'r blaen.

"Mae dy gwestiwn yn eithaf rhesymol," atebai Morus, "ac y mae genyt ti, yn anad pawb, hawl i wybod y gwir. Ti fuost yn ffrind i mi o'r diwrnod cyntaf y daethum i'r lle yma; ac y mae hyny ei hun yn ddigon o reswm dros i ti gael gwybod y gyfrinach. Ond nid oes raid myn'd trwy'r holl fanylion o'r dechreu."

---

## PENNOD VIII.

"Mi a ddechreuaf hefo'r amser yr aethum gyntaf i Lan——, yn sir ——, Gogledd Cymru, ddwy flynedd a haner yn ol. Nid yw ddim ond lle bychan, ac nid yw'n cynyddu dim, achos fod y rhan fwyaf o'r boblogaeth ifanc wedi myned i Awstralia ac America. Wn i ddim paham yr aethum i Llan——, ond dyna fel y bu, a hyny i chwilio am waith, yr hyn a gefais y diwrnod cyntaf.

"Yr wyf yn gwybod, Sam, nad wyt ti yn un o'r rhai hyny a elwir yn ofergoelus, am eu bod yn chwanog i gredu unrhyw beth, a phob peth, os bydd yn cynwys rhywbeth rhyfedd, ac uwchlaw amgyffred dyn; ac fel rheol, gallaf ddweyd nad wyf inau yn perthyn yn agos iawn i'r dosbarth hwnw; ond yn fy myw nis gallaf ryddhau fy hun oddiwrth y dybiaeth fod a wnelo rhyw Drefn a Gallu uch-ddynol â fy mynediad i bentref Llan——, ac â'r hyn a gymerodd le yr ail ddiwrnod wedi i mi gael gwaith a lletty yno, sef fy nghyfarfyddiad â Marged Puw, â'r hon y syrthiais mewn cariad y foment y gwelais hi.

"Hogen fach hynod oedd Marged Puw. Welais i erioed un ddelach, dlysach, fwy glan deg, sioncach ar ei throed, hefo llais mwy peraidd nac ateb mwy parod. Yr oeddwn i dros fy mhen a nghlustiau mewn cariad â hi cyn i mi siarad gair â hi erioed. Ond deallais yn fuan nad oedd lodesi eraill y Llan yn teimlo yn dda ati. Nis gallwn lai na chredu y buasai'n dda ganddynt ddweyd rhyw air drwg am dani; ond yr unig beth yn ymylu ar hyny oedd eu gwaith yn ceisio profi ei bod hi yn ffals ac anwadal, a'i bod wedi cellwair yn greulon â chalon llawer bachgen yn y fro. Ac yr oedd rhai o lanciau'r ardal yn llawn mor ddrwgdybus ohoni ar y pen hwnw. Profodd un o fy nghymdeithion ei fod yn un o'r rheiny pan glywodd fod Marged Puw a finau wedi dechreu cadw cwmni â'n gilydd, a mod i wedi pendroni mewn cariad; ac ebe fe un prydnawn, wrth gerdded adref o'r gwaith:

"'Wyddost ti be', Morus, mae holl hogia a 'genod y plwy' yn synu am na fasai helynt Seth Huws yn ddigon o wers i ti. Mi wyddost fod Marged wedi gwirioni mewn cariad â Seth, a bod y ddau hefo'u gilydd yn mhob man, nes yr hapnodd rhyw ffrae rhwng y ddau, ac i Seth fyned i'r 'Merica ne Galiffornia, o'r achos. Ac am iddi hi dy garu di, wneiff hi mo hyny byth, ac mi fydda'n well i ti goelio'r hen benill sy'n deud

'Haws troi'r fran 'r un gân a'r gôg.'

Felly, mi gym rwn i ofol tawn i ti.

"Waeth i mi heb geisio gwadu nid oedd hyn yn bleserus iawn i mi. Ond, er gwneud fy ngoreu i beidio gadael i'r peth fy mhoeni, yr oedd yn parhau i drwblo fy meddwl ddydd a nos, tra'r oedd fy serch at Marged Puw yn myn'd yn fwy angerddol y naill ddydd ar ol y llall. Ond waeth un gair na chant ar y pen yna, pan oeddym yn dychwelyd adref o Eisteddfod Llanerchymedd,

mi anturiais ofyn a oedd hi'n foddlon i fod yn wraig i mi.

"Wel, Sam bach, f'allai yr ystyri fi yn wirionach yrwan nag erioed, wrth i mi ddweyd fod y cyfan yn d'od yn ol i fy meddwl y foment hon, ac yn ymddangos i mi fel rhyw freuddwyd melus. Y rhodfeydd hyfryd trwy y nant, y teithiau pleserus i bob cyngherdd a darlith yn mhell ac yn agos, yr ymdroi pwrpasol ar y ffordd adref o'r bregeth nos Sul, a'r cyfarfod canu nos Fawrth! Anghofiais yr holl 'wrachïaidd chwedlau,' a theimlwn fy hun yn hapusach na thywysog.

"Geneth amddifad oedd Marged Puw—ei mam a'i thad wedi eu claddu, a'i hunig ddau frawd wedi ymsefydlu yn America; hithau wedi cael ei chymeryd dan ofal ei hewythr, brawd ei mam, yr hwn y mae y darllenydd wedi cael ychydig gydnabyddiaeth âg ef trwy ei gyfarfyddiad annisgwyliadwy â Morus Gyffin yn yr hen fwthyn bychan yn Nghwm Erfin. Yr ewythr hwn oedd un o 'gapteniaid' mwngloddiau Llan——, a thrwy ei ddylanwad ef y llwyddais i ddyfod yn denant tyddyn bach dèl, hefo gardd fach daclus o'i flaen, a llain o dir porfa o'r tu cefn. Ac wedi cael sicrwydd am y tŷ, dechreuais ei ddodrefnu mor gyson ag y gallwn â fy amgylchiadau ar y pryd, gyda phob cefnogaeth gan ewythr fy nyweddi; ac yn mhen ychydig wythnosau, coronwyd fy ngwynfyd trwy 'lân briodas.'

"Am y tri mis cyntaf o'n bywyd priodasol, nid oedd dau mwy hapus yn y byd nag oedd Marged a mi. Ond, yn mhen enyd, fe ddaeth rhyw gyfnewidiad nas gallwn i ei esbonio, trwy i'r fywiocaf a'r siriolaf yn y fro gael ei meddianu gan fath o lewygfeydd o absenoldeb meddwl ac iselder yspryd. Ac yn lle astudio yr achos a cheisio symud yr effeithiau, dechreuais inau, fel ynfytyn

gwael, goleddu meddyliau annheilwng am y ddynes fach oreu a sangodd y ddaear erioed.

"Un papyr newydd Cymraeg oedd yn cael cylchrediad yn Llan——, ac yr oedd tua cholofn o hwnw yn cael ei llenwi bron bob wythnos hefo darnau o'r *Drych*, yn cynwys newyddion am 'Gymry o'r Hen Wlad.' Y golofn hono oedd y gyntaf, ac yn fy ffolineb aethum i feddwl mai hono oedd yr unig ran o'r papyr a ddarllenai Marged. Daeth fel hunlle ar fy ysbryd yr hyn oedd fy nghydweithiwr wedi fy rhybuddio ohono, fod Marged Puw wedi rhoddi boll serch ei chalon i Seth Huws, ac mai yn America yr oedd yntau hefyd wedi ymsefydlu. Ie, disgwyl rhyw newydd am ei hen gariad yr oedd hi yn y golofn hono o'r *Drych*, bob wythnos; ac un noson, wrth dybied ei bod yn is ei hysprydoedd nag o'r blaen, rhoddais iddi yr archoll mwyaf creulawn y gallai gelyn ei roddi, trwy ei chyhuddo o beidio meddwl am neb na dim ond am ei hen gariad. Nid wyf am geisio dweyd wrthyt ti, Sam, pa effaith a gafodd y cyhuddiad hwnw arni. Er nas gallaf ddarlunio, nis gallaf annghofio ychwaith, yr edrychiad a roddodd arnaf y foment hono. Ac wedi rhoddi i mi yr unig edrychiad bythgofiadwy hwnw, dyrchafodd waedd isel, dododd ei llaw ar ei bron, a syrthiodd i'r llawr mewn llewyg.

"Er fod pawb yn Llan—— yn gwybod fod rhywbeth bynod yn poeni Marged, cefais i ddigon o râs i gadw'r gyfrinach i mi fy hun, ac nid oedd hi yn dymuno siarad â neb ar ddim ond a fyddai raid. Ac felly yr aeth chwe mis o'n bywyd priodasol yn mlaen heb yr arwydd lleiaf o wellhad yn yr amgylchiadau, er nad oedd Marged yn pallu o gwbl yn ei dyledswyddau teuluaidd, gan belled ag yr oedd ei nerth yn caniatau. Ond, yn lle lleihau, cynyddu, yn hytrach, yr oedd ein dyeithrwch i'n gilydd, ac

nis gallwn i lai nag ystyried ei hymddygiad hi fel cadarnhad o wirionedd fy nrwgdybiaeth, yr hyn a benderfynwyd tuhwnt i bob dadl nac anmheuaeth un prydnawn bythgofiadwy i mi.

"O dan ryw ymgymhelliad nas gwyddwn mwy na'r marw pa fodd i roddi cyfrif am dano, gadewais y gwaith y prydnawn hwnw yn gynarach nag arfer, a cherddais yn araf a phendrist tua'r tyddyn bach ar ael y bryn. Pan aethum i mewn, yn ddystaw a hollol annisgwyliadwy, canfyddais, er fy nirfawr syndod, nad oedd Marged mor ddigyfeillach ag yr oeddwn i wedi tybied ei bod. Y pethau cyntaf i dynu fy sylw ac i gryfhau fy nrwgdybiaeth oedd canfod het silk a ffon fahogani ddu gyda bagl aur, wedi eu gosod ar fwrdd y gegin; a thrwy y drws cilagored oedd yn arwain o'r gegin gefn i'r tipyn parlwr ffrynt, canfyddwn Marged a rhyw ddyn ieuanc dyeithr yn cofleidio eu gilydd drachefn a thrachefn. Yna mi clywn hi yn dweyd, mewn llais oedd yn swnio i mi fel pe buasai yn gymysgedd o oslef wylofain a llonder gorfoledd:

"'A dyma ti wedi d'od yr holl ffordd i edrych am danaf! Wel, yr oeddwn wedi myn'd i ofni na chawn dy weled byth ond hyny,' a chusanodd ef drachefn gyda gwresogrwydd cariad.

"Yr oedd hyny yn llawn ddigon i mi. Troais ar fy sawdl yn berffaith ddystaw, ac am yr ail neu y drydedd waith yn fy oes, cerddais gan belled a thafarn Ty'n-y-Coed, ac wedi talu am ddiod i ffermwr neu ddau oedd yno yn trafod nodwedd y tywydd ac argoelion y farchnad, gofynais am ychydig bapyr ac inc ac ysgrifenais nodyn byr i 'Marged Gyffin,' yn ei hysbysu o'r hyn oeddwn wedi weled a chlywed; fod hyny yn ddigon i mi; ac nad oeddwn yn dymuno dweyd dim ychwaneg, gyda fy ffarwel tragwyddol iddi!'"

## PENNOD IX.

"Ni welodd neb mohonwyf yn ardal Llan—— ar ol y prydnawn hwnw. Yr oeddwn yn awyddus am fyned i ddiweddu fy nyddiau mewn rhyw ardal lle nad oedd neb yn fy adnabod, a lle y gallwn guddio cyfrinach fy nghalon doredig oddiwrth bob enaid byw. Felly y daethum yma, os wyt ti'n cofio, Sam, yn destyn dadleuon a dyfaliadau pawb yn y Cwm, heb fod genyf fi ddim ond un dymuniad, a hwnw oedd cael marw yn fuan a hyny heb i neb wybod fy hanes.

"Yn mhen tri mis, pwy ddigwyddais gyfarfod, a hyny yn y caban bach yma, ond ewythr Marged, wedi dyfod i edrych ansawdd rhyw waith newydd oedd yn cael ei gynyg ar werth. Yn ystod yr ymddyddan a gawsom ein dau, fe ddywedodd wrthyf rai pethau a wnaethant i mi newid fy nheimlad yn nghylch dymuno cael marw, ond, yn hytrach cael byw, ac ymdrechu gwneud rhyw iawn am y camwri erchyll yr oeddwn wedi wneud i Marged. Yn lle fy nhybiaeth ynfyd i, mai ei hen gariad, Seth Huws, oedd wedi dychwelyd o'r America i edrych am dani, hysbysodd ei hewythr fi mai ei brawd Hywel—oedd yn ddyeithr i mi—oedd wedi dyfod, yn gyfrinachol, er mwyn ein cymeryd âg ychydig syndod, wedi iddo glywed am ein priodas a'n cartref bach dedwydd yn Nhyddyn-y-rhos; ei bod hithau, ar ol derbyn fy nodyn gwallgof, a dyall ei bod wedi cael ei gadael gan ei gwr, wedi cymeryd ei pherswadio i fyned hefo'i brawd i'r America; a'i fod ef (ei hewythr) wedi cael llythyr neu ddau oddiwrthynt, o ardal mwngloddiau Scranton, Pa., lle'r oedd Hywel mewn sefyllfa lwyddianus.

"Penderfynais ddefnyddio hyny o arian oeddwn wedi llwyddo i'w casglu, tuag at dalu fy ffordd i Pennsylvania, lle y gallwn ofyn, os nad derbyn ei maddeuant. Dyna'r pryd y diflanais mor sydyn oddiyma, wyddost. Wel, i dori'r stori'n fèr, mi gyrhaeddais Scranton. Y peth cyntaf a wnaethum yno oedd holi yn nghylch Hywel Puw. Dangoswyd i mi y ty lle'r oedd *wedi bod* yn byw, ond ychwanegwyd ei fod wedi ymadael oddiyno er's cryn amser, ac wedi myned i un o ardaloedd mwngloddiau Califfornia. Ac am Marged Puw—nid oedd neb yn ei hadwaen yno ond wrth ei henw cyntaf—hysbyswyd fi ei bod hi wedi ei chladdu yn y fynwent gerllaw, lle y dangoswyd i mi gareg ei bedd gan gyfaill o Gymro caredig, yn cynwys ei henw—Marged Puw, gyda'i hoedran—tair-ar-hugain. A bellach, Sam, dyma fi wedi dyfod i ffarwelio â thi ac â'r hen gaban yma, cyn myn'd i'r wlad lle y mae genyf bob ffydd y derbyniaf ei maddeuant a'i chroesawiad."

Methodd Morus Gyffin a dal yn hwy. Gwyrodd ei ben ar ei ddwylin, a thorodd i wylo o eigion ei galon.

Yr oedd hyn hefyd yn ormod i'r calon-dyner a'r dewr Sam Llwyd, yr hwn nas gallai atal deigryn tra yn dywedyd,—

"Dere dy law, 'rhen bartner. Mae'r cwbwl yn blaen yn awr. Ond paid digaloni: daw pethau'n well na'r disgwyliad eto," a dyna lle y buont am amser yn gwasgu dwylaw eu gilydd, ac heb fedru dweyd dim, hyd nes y sylwodd Sam fod rhyw gyfnewidiad difrifol wedi dyfod eto dros ei gymrawd. Rhedodd allan i geisio cymhorth rhyw gymydog, ac yna prysurodd i alw'r meddyg, yr hwn oedd wedi gweini mor ffyddlawn a medrus ar Morus Gyffin o'r blaen.

Oedd—yr oedd yr hyn oll yr aeth Morus drwyddo, gorph a meddwl, yn ormod i'w gyfan-

soddiad, a bu am fisoedd megys yn hofran rhwng dau fyd.

Erbyn hyn, yr oedd chwyldroad trwyadl wedi dyfod ar dybiadau a theimladau mwngloddwyr y Cwm, yn nghylch cymeriad Morus Gyffin a'i fwthyn. Yr oedd Sam Llwyd wedi dweyd i bawb yr hyn oll a dybiai yn ddoeth ac yn angenrheidiol er mwyn egluro yr hynodrwydd oedd wedi bod hyd hyny yn gyfrinach y fro. Ni fynai Tal Goginan ei alw yn "Morus Draws" byth mwy; ac yr oedd hyd yn nod Twm Prydderch wedi cael ei lwyr argyhoeddi nad oedd dim o'r diafol yn perthyn iddo. Ac yn lle osgoi y cottas fel lle a breswylid gan ysbrydion drwg, yr oedd y cymydogion megys yn cystadlu i'w wneud yn gysurus, ac yn lle cyfaddas i feddyginiaethu, meithrin, a gweini ar y claf.

Bu hyn yn effeithiol, dan fendith y nef, i arbed y bywyd yr ofnid am dano; ac un prydnawn tawel, pan oedd Morus yn eistedd mewn cadair freichiau oedd wedi cael ei phwrcasu o bwrpas iddo, ac yn mwynhau cymdeithas garedig ei ymwelyddion mwyaf ffyddlawn, sef y Capten a Mrs Parry, dyna guriad egwan ac ofnus ar y drws, ac aeth y Capten i'w agor.

"Ai dyma lle mae Morus Gyffin yn byw?" gofynai boneddiges lednais mewn llais gwylaidd.

"Ie; deuwch i mewn," ebai Morus o'i gadair, mewn llais cuwch ag y caniatai ei nerth; a'r foment nesaf, safai y foneddiges o'i flaen.

"Ac ai dyma Morus Gyffin?" hi a ofynai drachefn.

Neidiodd Morus ar ei draed, a'i wyneb mor welw ag angau.

"Beth!" ebai ef. "'Rwyf yn 'nabod y llais yna; ac eto, y mae hyny yn anmhosibl. Breuddwydio yr ydwyf. Breuddwydio'r wyf bob amser am dani hi. Ond, y mae fy Marged wedi ei chladdu; mi welais ei bedd.

Teimlai'r Capten a Mrs Parry mai priodol fyddai iddynt hwy adael y ddau am enyd i gwmni eu gilydd, ac aethant allan.

"Na, fy mhriod—fy Morus—fy anwylyd," ebe'r fenyw, gan estyn ei gwyneb prydferth at yr eiddo ef,—"na, nid wyf wedi marw. Dyma fi yn *fyw*, ac wedi dod yma i godi'ch calon ac i'ch nyrsio chwi." Ond nis gallwn wneud cyfiawnder â'r olygfa.

Cafwyd eglurhad buan ar yr holl gamgymeriadau oeddynt wedi cymeryd lle. Gwraig i un o'i brodyr oedd wedi marw, a'i henw hithau oedd Marged, ac o'r un oedran â Marged Gyffin.

"A glywsoch chwi mod i wedi gwneud ymchwiliad am danoch yn yr America?" gofynai Morus."

"Do, Morus bach, ond yr oedd hyny ar ddamwain hollol, ac yn mhen wythnosau wedi i chwi ddychwelyd. Ond dyma ni wedi dod o hyd i'n gilydd, heb berygl camddyall eto!"

A gadawn hwynt yna yn awr i arllwys eu teimladau, mewn dagrau o wynfyd, heb unrhyw "gyfrinach" mwy.

Y

# Wledd a'r Wyrth:

## RHAMANT HANESYDDOL.

Y

# WLEDD A'R WYRTH:

## Rhamant Hanesyddol.

### PENNOD I.

Er mai Llys glythlawn Dyganwy, eiddo'r brenin mawreddog Maelgwyn Gwynedd, ydyw golygfa gyntaf ein chwedl, ystyriwn mai y ddau brif wrthrych ydynt Heinyn Vardd a'i fab Gwyndav.

Yn ystod y cyfnod hwnw yn hanes y Cymry yr oedd y beirdd mewn bri aruchel gyda brenhinoedd, tywysogion, a phendefigion pob teyrnas a phob talaeth. Fe ddywedir yn un o'r hen *Fabinogion*—yr ydys yn aralleirio mor ffyddlawn ag y gallwn o hen gystrawen y *Mabinogion* i Gymraeg y dyddiau hyn :—

"Nid oedd neb y pryd hwnw yn cyflawni swyddogaeth bardd, nac ymgeiswyr yn cael eu derbyn i'r cylch barddol, ar na fyddent yn ddynion dysgedig, efrydgar, a llwyr gyfarwydd âg achau, peisarfau, a gweithredoedd arwrol tywysogion a brenhinoedd, yn gystal ag mewn ymdrafod â helyntion teyrnasoedd tramor fel âg amgylchiadau henafol y deyrnas hon ; ond yn benaf â brutiau a chroniclau y prif bendefigion, ac hefyd yn barod gyda'u hatebion mewn amryfal ieithoedd—Lladin, Ffrengaeg, Cymraeg, a Saesneg. A chyda hyn oll, yr oedd yn rhaid

iddynt fod yn fedrus mewn areithyddiaeth ac yn y gelfyddyd o lunio a chyflawni mesurau barddonol, a bod yn barod i wneud englynion yn mhob un o'r ieithoedd a grybwyllwyd."

Y mae'r *Mabinogi*, o ba un y gwnawn yr ychydig ddyfyniadau rhagarweiniol hyn i sylwedd y chwedl, yn cyfeirio at wledd fawreddog —gorwest rwysgfawr ac aruthrol—a gynaliodd Maelgwyn yn Llys Dyganwy ar un achlysur neillduol; ac yn ychwanegu :—

"Yn awr, yr oedd yn yr orwest hono gynifer a phedwar ar hugain o feirdd, ac yn benaf arnynt oll yr oedd yr hen Brif-fardd Heinyn ;" a dywedir mewn man arall fod yr anrhydedd hwnw "yn rhoddi hawl i'w feddianydd gymeryd blaenoriaeth uchraddol mewn cymdeithas ar wrolion ac arglwyddi, a chymeryd safle neu eistoddle heb fod yn ail i'r eiddo neb amgen urddas brenhinol ei hun."

Yr ymgydnabyddiaeth bersonol gyntaf a gawn â Heinyn Vardd ydyw pan yn ymbarotoi ar gyfer yr orwest fawreddog ag yr oedd ei henaint ef yn ddigon i gyfiawnhau'r syniad mai hon fyddai'r olaf a gaffai. Canfyddwn ef yn cyfansoddi'r dyrïau a'r awdlau arwrol hyny oeddynt i gael eu cyplysu â cherddoriaeth, ac i gael eu dadganu gan y crythoriaid a'r telynorion yn yr Wyl Frenhinol.

Yr oedd yr Hybarch Heinyn yn meddu'r clod o fod wedi trysori yn ei gof gynifer a thri chant a haner o fabinogion am "yr hen amser gynt," er difyrwch, adloniant, ac addysg y bobl, ac yn medru eu dadganu â'i lais a'u cyfeilio ar y delyn gyda'i fysedd ei hun. A'r nawn a'r nos a dreulid fel math o ymbarotoad erbyn yr orwest oedd tranoeth i gyrhaedd uchafiaeth ei rhwysg a'i rhialtwch, ni a'i cawn, er cymaint ei henaint, yn synu ei wrandawyr a'i edmygwyr â disgleirder ei athrylith a bywiogrwydd ei ddawn, a hirfaith yr adgofiai ei wrandawyr yr arwrgerddi a'r chwedlau a adroddai ac a ddadganai ar y pryd.

Ond er mor llwyddianus—tuhwnt hyd yn nod

i'w ragoriaeth arferol ei hun—tybiai'r brenin, Maelgwyn Gwynedd, ei fod yn canfod rhyw arwyddion o bryder a gofid ar wynebpryd yr hen brif-fardd, gyda rhyw ddygryndod o nodwedd lleddf yn ei lais; ac yn ystod cyfwng o seibiant yn y loddest a'r ymfwynhad, galwodd y brenin am ei fardd i'w wyddfod cyfrin ei hun, ac anerchodd ef yn dyner, gan ddywedyd:—

"Fy Mhrif-fardd Heinyn! myfi a'th glywais, yn mhlith trysorau eraill o'th ddysg a'th ddoethineb, yn defnyddio fel arwireb ac athroniaeth: 'Ni chêl grudd gystudd calon!' Yn awr, os gwirionedd a draethaist, yr wyf mewn pryder yn dy gylch di, canys, a barnu oddiwrth yr argraph ar dy *rudd* yn ddiweddar, rhaid dy fod yn dyoddef gan *gystudd calon*. Ac os nad wyf yn gofyn yr hyn a ystyri yn rhy gyfrin i'w ddadlenu, hyd yn nod i dy deyrn, eiddunaf arnat draethu dy lên ac eglurhau hyn."

"O, rhynged bodd dy fawrhydi," atebai Heiddyn, gydag ymgrymiad teyrngarol, "ni feddaf ddim a ystyriwn yn rhy gyfrin i'w draethu i gyfreithlawn frenin y nef-nawddedig deyrnas hon."

"Gan hyny," ychwanegai Maelgwyn, "tawela fy meddwl mewn perthynas i achos yr argraph o ofid a sylwais yn nodweddu dy wynebpryd yn ddiweddar, yn enwedig heddyw, a thithau yn benaeth y ddau ddeg pedwar o brif-feirdd y deyrnas a'th amgylchent ac a'th ufuddhaent mor ffyddlawn a pharod a phe y buasent ddeiliaid yn dymuno anrhydeddu a boddhau eu brenin."

"Gwir a draethodd dy fawrhydi," ebai Heinyn. "Byth wedi dyfodiad fy nghyntafanedig fab, Gwyndav, i'w oed, a minau heb un mab arall wedi ei adael, trwy i'r gweddill fyned i Gylch y Gwynfyd yn ystod eu babandod, y mae ei gyflwr ef wedi bod i mi yn achos o bryder a gofid adnewyddol a mwy anaele nag erioed. Mynych, tra yn ymdrechu addysgu a difyru eraill, bydd fy nghalon fy hun yn barod i suddo dan ei baich."

"A phabam y mae cyflwr Gwyndav yn dy gystuddio gymaint?" gofynai Maelgwyn drachefn, gyda thynerwch cynyddol.

"O, rhynged bodd dy fawrhydi," atebai Heinyn, "maddeu fy myfiaeth, yr hyn a allai ymddangos i rai yn wag ymffrost, tra yn dy adgofio o'r ffaith fod fy henafiaid, o'r gwaediaeth mwyaf uniongyrchol, o hil gerdd, wedi bod yn brif-feirdd ac yn feirdd brenhinol, o dad i fab, yn ddidor ddifwlch, hyd nes y darfu i Ragluniaeth Dofydd a graslonrwydd dy fawrhydi gadw a goddef eu disgynydd Heinyn yn Deyrnfardd Maelgwyn; a minau yn teimlo fy hun awr gan henaint yn dynesu at y glŷn nad oes ddychwelyd ohono, ac heb obaith olynydd o fy nbras fy hun i lenwi fy swydd! Gŵyr dy fawrhydi fod fy unig fab bellach—yr hwn, pan aned, a obeithiais a fuasai yn etifeddu fy awen, fy nawn, a fy eiddo—wedi profi ei hun yn *fud a byddar!* Er yr ymddengys fod ei holl gynheddfau eraill yn ddisgleiriach na'r eiddo mwyrif ffafriad awenyddol dy lys, y mae yr un diffyg hwn—*mudandod* a diffyg clyw—yn gwahardd i fy Ngwyndav bob gobaith a hawl i unrhyw ddyrchafiad mewn bywyd!"

Yr oedd y tad, fel y lled awgrymwyd yn ei atebiad uchod i Maelgwyn Gwynedd, wedi gweled ei holl berthynasau yn disgyn i'r bedd o'i flaen ef, ac yntau, bellach, yn teimlo ei nerth yn pallu a'i awen yn llesghau, heb obaith yn y golwg i'w gynfab am amgen na dybynu ar elusen am y gweddill o'i oes, wedi marwolaeth y tad, yn gymaint ag nad oedd yr eiddo a'r golud, mwy na'r breiniau a'r dyrchafiadau, yn etifeddol, eithr yn unig yn nglŷn â'r olyniaeth i swydd y Prif-Fardd neu'r Bardd Brenhinol.

Yr oedd profedigaeth Heinyn, oherwydd yr amgylchiad hwn, yn drymach a llymach, yn gymaint a bod y llanc yn harddach ei gorph, mwy moesgar ei ddull, a chryfach ei gyneddfau deallol, na nemawr o'r rhai hyny ag oeddynt yn cyflym ymddyrchu yn edmygedd a ffafr y cyhoedd.

Mynych y gellid sylwi ar yr hen Brif fardd —ac yr oedd y Brenin Maelgwyn wedi gwneud hyny yn ddiweddar—yr hwn a garai ei blentyn gydag angerddolrwydd serch tad, mewn amgylchiad eithriadol yn ocheneidio yn ddwys tra yn anrhydeddu plant ei gyfeillion a'i gymydogion â'r graddau a'r breiniau hyny ag yr ymddangosai nad oedd obaith y byddai i'w fab ei hun byth eu cyrhaedd na'u mwynhau.

Nid am y gellid cyhuddo yr hen Heinyn o goleddu na meithrin y fath nwyd ansyber a llwgr ag ydyw eiddigedd,—ond yr oedd yn naturiol, hyd yn nod gyda'r teimladau mwyaf haelfrydig ar fod i'r prawf a'r olygfa o deilyngdod mabol a dedwyddwch tadol ei adgofio ef, trwy wrthgyferbyniad, o'i brofedigaeth adfydus ei hun. Ymsuddai ei galon o dan drymlwyth ei deimladau ; ac efe, yr hwn a wyddai mor dda pa fodd i gysuro eraill, a deimlai ei hun yn fynych heb neb i'w ddyddanu ef.

Er hyny, rhaid addef fod y mab, a fu yn achlysur ymofidus o adfyd ei dad, wedi dyfod iddo hefyd yn unig gyfrwng hyfrydwch bellach mewn bywyd.

Awgrymwyd eisoes fwy nag unwaith nad oedd amddifadrwydd Gwyndav o allu rhaith a llafar wedi effeithio yn niweidiol ar ei ddeall na'i galon. Byddai ei lygaid disglaer byth a hefyd yn dilyn ei dad. Yr oedd y chwyfiad lleiaf o'r eiddo llaw, neu'r ysgogiad mwyaf disylw ar gorph yr henafgwr hybarch, yn arwydd cyflymach a mwy anffaeledig iddo ef o ba beth bynag a ddeisyfai ei dad nag y gallasai iaith fod i neb arall. Efe a ddygai iddo ei grwth, pan y canfyddai'r cwmwl yn gorchuddio ei ael, er nas gwyddai paham y byddai ei waith yn rhedeg ei fysedd dros dànau ei delyn neu'r crwth, pan

Gyda'r llaw yr äi'r Awen,

yn enynu llawenydd a bywyd yn nghalon ei dad, yn gystal a'r eiddo ei wrandawyr. Nis gallai ychwaith ddirnad achos gofid a thristyd yr hen

fardd, ond efe a wnelai bob peth o fewn ei allu i ddeall a symud yr achos hwnw. Pa wedd bynag, nid oedd ei ymdrechion yn effeithio amgen na gwaethygu'r drwg y bwriedid hwynt i'w wrthweithio; a chyda phoen a synryfeddod y canfyddai, po fwyaf yr ymdrechai ef i ddattynu'r saeth, mai dyfnach ddyfnach y suddai ac y sicrhai ef yn nghalon yr hen fardd!

---

## PENNOD II.

PAN ail-ddechreuodd y rhagbarotoadau oeddynt i wneud gwledd Maelgwyn Gwynedd, yn Nghastell Dyganwy, yn enwog mewn hanesyddiaeth Gymreig, yr oedd yn bresenol fintai luosog o dywysogion a thywysogesau, pendefigion a phendefigesau, gwroniaid hyglod am eu gorchestion ar faes y gwaed, a boneddigesau o fri am eu harddwch personol ac am eu gweithredoedd daionus, yn gystal a'r cynulliad o feirdd a thelynorion a grybwyllwyd eisoes.

Yn mhlith y rhai a gymerent ran weithredol yn yr amgylchiadau, gellir enwi Cynlas, ŵyr i Einion ab Cunedda Wledig, yr hwn hefyd a grybwyllir yn yr *Iolo MSS.* fel "Arglwydd Morganwg a thad St. Catwg;" Gwrtherin, am yr hwn y sonia Gildas fel "gormesydd y *Demetæ*, neu bobl Dyfed;" Cynon, Elphin, Maeldaf, Olwen, ac eraill.

Yn mhlith yr holl gwmni lluosog ac anrhydeddus, nid oedd neb onid y Brenin Maelgwyn a'i Frenhines Olwen wedi sylwi, nac yn gwybod yr achos, fel yr oeddynt hwy erbyn hyn, o dristwch yr hen Heinyn Vardd, yr hwn, er cymaint ei henaint a thrymed baich ei brofedigaeth oherwydd cyflwr ei unig fab—ei anwylyd Gwyndav—oedd yn ymddangos mor ddisglaer ei athrylith, mor fywiog ei awen, mor gelfydd ei

feistrolaeth ar dânau ei delyn, ac mor anhysbyddadwy ei ddysg a'i gôf ag erioed.

Pan gyrhaeddwyd y gyfran ymddyddanol ac adloniadol o weithrediadau y dydd, anerchwyd Heinyn gan Cynlas, yr hwn a ddywedodd :—

"Yn gymaint a bod fy nghyntafedig fab, Catwg, yn ymgysegru i fyfyrio a meistroli pob crêd dduwinyddol, hen a diweddar, dymunwn ar i Heinyn Vardd egluro i ni swm a sylwedd credo ein henafiaid."

Maelgwyn Gwynedd a'i holl urddasolion a'i westeion a roddent arwyddion o gymeradwyaeth brwdfrydig, tra yr elai Heinyn yn mlaen, gan ddywedyd, yn mhlith pethau eraill,—

"Pan oresgynwyd Ynys Prydain gan Iwl Caisar, efe a dybiodd fod ein henafiaid yn chwanog i addoli yr un a'r unrhyw dduwiau ag a addolid gan y Rhufeiniaid eu hunain. Yr oedd gan bob talaeth a chwmwd eu dwyfyddiaeth neillduol, ac yr oedd yr afonydd yn enwedig yn cael eu cysylltu â bodau dwyfyddol arbenig, fel y prawf enw yr afon Ddyfrdwy mewn amryfal barthau o'r Ynys Wen, er yn amrywio yn ffurf yr enw yn ol amrywiaeth cystrawen ac ieithwedd yr hanesyddwyr, megys y mae'r Ddyfrdwy yn Ngwynedd yn cael ei galw gan rai yn *Dee* a chan eraill yn *Deva*—oll yn cyfleu y syniad am gysylltiad yr afon â dwyfyddiaeth, yr hyn, Cynlas, a gadarnha gywirdeb credo y frawdoliaeth y perthyn dy fab Catwg iddi; nid amgen mai perffeithiad, nid difodiant, Derwyddiaeth yw crefydd y Crist, ac a gyfiawnha'r parhad, yn ein llên fwyaf cysegredig ni, o'r cyfryw wirebau a diarhebion ag 'Heb Dduw, heb ddim,' a'u cyffelyb."

Ar hyn y Brenin Maelgwyn Gwynedd a gymerodd ran yn yr ymdrafodaeth trwy wneud ymholiad i'r perwyl a ganlyn :—

"Fy Mhrif-fardd Heinyn! gan i ti grybwyll fod ein henafiaid yn cysylltu dwyfoliaeth â lleoedd ac amgylchiadau daearol, ai gwir yw eu bod hefyd yn coleddu'r syniad am uchreolaeth uniongyrchol Dofydd â chyfiawn neu draws feddianwyr gorseddau daearol?"

"O rhynged bodd dy fawrhydi," atebai Heinyn Vardd, "teimlaf nas gallaf wneud yn well, fel math o atebiad, nag adgofio dy fawrhydi o draddodiad neu ddau."

Dangosodd y teyrn a'i holl westeion yr awydd mwyaf am glywed rhai o'r traddodiadau cenedlaethol ag y gwyddent mor dda eu bod yn drysorau dihysbydd yn nghôf yr hen fardd ; ac yntau a aeth yn mlaen gan ddywedyd :—

"Y mae pawb cyfarwydd â'n llên gwerin yn gwybod fod un brenin anghyfreithlawn yn cael ei ddatgan yn 'anghenfil rhwth, gydag anfodd y Nef yn dilyn ei gamrau, yn gymaint ag nad oedd y tir, yn ei amser ef, yn cynyrchu grawn, na'r prenau yn dwyn ffrwyth, na'r afonydd yn heigio pysgod, na'r gwartheg yn rhoddi llaeth.' Ond, serch hyny, cyn gynted ag y cymerwyd y goron a'r orsedd gan y brenin cyfreithlawn, fod 'y tymhorau yn ymadnewyddu yn eu haelioni a'u rhadlonrwydd, y gwartheg yn rhoddi eu llaeth hyd ddigonedd, y ddaear mor doreithiog ag erioed, yr afonydd yn drwythog o bysgod, a'r coed yn ymgrymu o dan drymlwythi eu ffrwythau pêr."

Gyda hyn, cymerodd y bardd ei delyn i'w ddwylaw, a chanodd yr alaw traddodiadol, "Gwenith Gwyn," ond gyda moeswers lawer mwy urddasol nag a rydd y geiriad diweddar o'r hen felodeg gain.

Pan y gorphenodd Heinyn yr alaw cyfarchwyd ef gan Maeldaf, Arglwydd Moel Esgidion yn Meirionydd, yn ol un Brut, ac Arglwydd Pennardd yn Arfon, yn ol Brut arall, ond am brif orchest oes yr hwn y bydd genym ychwaneg i'w draethu wrth fyned yn mlaen, yr hwn a ddywedodd,—

"Hybarch Bencerdd! adrodd i ni unwaith eto pa fodd y darfu i Anian gydnabod ac anrhydeddu un o'n tywysogion fel datganiad o gyfreithlonrwydd ei hawl etifeddol i orsedd ei dadau."

"Gwyddom i gyd," ebai Heinyn, "mai y

traddodiad ydyw y byddai'r holl adar cerdd yn pyncio eu melodion melusaf gerllaw llyn yn Mrycheiniog ar archiad y Tywysog Gruffydd, a'r modd y cafodd efe ganddynt i guro y dwfr â'u hadenydd tra yn parablu mor bêr, yn unig er profi eu teyrngarwch, a hwythau wedi gwrthod pob arwydd o gydnabyddiaeth i'r arglwyddi a'r tywysogion estronol oeddynt wedi yspeilio, ac a barhaent i ormesu gwlad a pherson y cyfreithlawn deyrn."

Fel amrywiaeth priodol i'r mân fabinogion hyn, cymerodd Heinyn Vardd ei delyn drachefn, a thrydanodd bawb gan ei waith a'i ddull yn canu yr hen alaw anfarwol "Cynghan Sail Cymru."

Eisteddai ei fab, Gwyndav, gerllaw, fel cynrychiolaeth o berffeithrwydd, harddwch, a lledneisrwydd mabol; ond methai ddirnad yr holl arwyddion o frwdfrydedd a chymeradwyaeth mwy angerddol nag arfer a gynyrchai bysedd ei dad ar yr achlysur hwn.

Canfyddid fod dagrau'r Frenhines Olwen yn llifo tra yn sylwi ar yr argraph o edmygedd, yn ymylu ar addolgarwch, a ddangosai gwynebpryd a golygon y mab mud a byddar, yn gystal ag ar yr arwydd o gymysgedd teimlad o frwdfrydedd a phrudd-der tadol oedd yn ymdaenu dros wyneb ac yn ymloewi yn nhremiad haner-ysbrydol yr hen Heinyn Vardd, tra yn cyfodi i wneud ei foesymgrymiad i'r teyrn a'i lys, ac yn ymneillduo, gan gael ei efelychu gan ei fab, yr hwn a'i dilynai trwy'r cyntedd yn amlder ei harddwch a'i foes.

Wedi yspaid byr o ddystawrwydd difrifddwys, galwyd ar Maeldaf, yr hwn oedd yn fardd wrth fraint, yn gystal ag yn dywysog o waed, i draethu ei lênarachau un o henafiaid uniongyrchol rhai o oreugwyr y llys ar y pryd, nid amgen Cunedda Wledig a'i feibion dewr.

Maeldaf a gydsyniai trwy roddi crynodeb hanesyddol a thraddodiadol i'r perwyl a ganlyn:

"Tra nad yw ein holl awdurdodau yn cytuno

parth tarddiad Cunedda Wledig, yr ydys oll, bellach, yn dawel ein meddyliau mewn perthynas i gyfreithlondeb a mawredd y sawl sydd yn ei olynu ar Orsedd Gwynedd. Ond y mae gwell sail na gwag ddychymygion dros goleddu y grêd fod rhai o'i henafiaid wedi bod yn gwisgo yr urddwisgoedd porphor o dan y llywodraeth a'r weinyddiaeth Rufeinig, yr hyn a gadarnheir gan y ffaith fod y brutiau Cymreig yn cynwys cyfeiriadau at *Paturnus* neu Padarn, a'r enw arwyddocaol *Peisrudd*, neu efe â'r bais goch. Y mae hefyd ar gôf a chadw fod Cunedda a'i feibion yn llywodraethu Cymru benbaladr, a bod ei allu yn oruchaf o Gaerludd hyd i Gaer Weir; fod 'gwregys Cunedda,' at ba un y cyfeirir gan un o'r hen feirdd, yn gynwysedig o aur dilin; a'i fod o gŷff nifer lluosog o saint mwyaf clodforus Gwalia lân, yn gystal ag olynwyr brenhinol a thywysogol heb eu hail am arwriaeth, urddas, a mawrhydi, fel y profir yn awr, ac y cadarnheir yn fwy pendifaddeu fyth yfory, pan ddygir i'w huchafnod wledd ogoneddus olynydd uniongyrchol y Cunedda Wledig hwnw, nid amgen yr arwrol, y doeth, y gwladgar—ei Fawrhydi Maelgwyn Gwynedd."

Dyrchafodd y llys floedd o orfoledd, a chwyddid ac a bereiddid gan gydgord degau o delynau a chydganau.

Un yn unig o fewn y llys a ddangosai yr arwydd lleiaf o anfoddogrwydd oherwydd y gorfoledd clodforus hwn mewn anrhydedd i enw y Brenin Maelgwyn; a'r un hwnw oedd Gwrtherin, creulawn "ormesdeyrn pobl talaeth Dyfed," gylch ael yr hwn y gellid canfod cwmwl eiddigedd yn ymgrogi, a chalon yr hwn, pe gellid ei threiddio a'i chwilio, a geid yn ymfflamychu gan falais a bwriadau halog a bradwrus.

Yn y cyfamser, yr oedd Heinyn Vardd a Gwyndav, ei fab, wedi cyrhaedd hoff breswylfa'r henafgwr, lle y gallai ymgymuno âg anian yn ei lledneisrwydd, ei mawredd, a'i hamrywiaeth mwyaf tangnefeddus.

Pan oedd Heinyn yn cyffwrdd tànau ei delyn, gan gynyrchu yn ddystaw alaw leddf o'i gyfansoddiad ei hun, tra yr oedd yr haul yn ymsuddo yn y gorllewin draw, ac yn taflu draws porth eu preswylfod gwreng gysgod hen dŵr a safai gerllaw, canfyddai ei fab yn arsyllu arno gyda mwy o ddyddordeb a phob argoel o fwy o bryder nag arfer.

Dygodd difrifwch edrychiad y llanc adgofion pruddglwyfus i feddwl y telynor, yr hwn a adawodd i'w ddwylaw ddisgyn yn ddiegni ar ei ddwylin, ac a geisiodd ddarganfod yn ngwynebpryd disglaer ei fab ryw linell o debygolrwydd i'r fam fendigaid a gollodd Gwyndav pan oedd yn faban.

Deigryn yn dilyn deigryn a dreiglent i lawr gruddiau'r hen wr, tra yr oedd ef yn adgofio gwynfyd amserau yn ol, hyd nes o'r diwedd y gwthiodd y crwth oddiwrtho gydag ymdeimlad o selni calon, ac ymollyngodd yn ol ar ei eisteddfa drithroed wedi ei lwyr orchfygu gan gyfuniad o adgofion am a fu ac ofnau am a ddeuai.

Neidiodd y llanc dychrynedig tuag ato, a thaflodd ei freichiau ar led fel ag i erfyn rhyw eglurhad o'r ymarllwysiad disymwth hwn o dristwch ac ing. Gwasgodd ei ddwylaw ar ei galon i ddynodi yr hyn oedd yn myned yn mlaen oddimewn yno. Murmurodd ryw seiniau annyall —ymdaflodd wrth draed ei riant, cofleidiodd ei liniau gyda gwresogrwydd, ac edrychodd drachefn mewn dull awyddus ac ymofyngar yn myw llygaid ei dad.

Er gwaethaf ei ing, nis gallai'r hen Brif-fardd lai na gwenu wrth ganfod y datganiadau arwyddocaol hyn o serch angerddol, a dododd ei law yn dyner drwy lawethau gwallt modrwyog y bachgen, tra yr ysgydwai ei ben yr un pryd i ddynodi llwyr anobaith o unrhyw wellhad yn ei gyflwr.

Neidiodd Gwyndav ar ei draed, a phwyntiodd ei law at bob un o bedwar chwarter y byd, gan geisio, trwy hyny ac ysgogiadau eraill ar ei gorph, gyfleu'r sicrwydd o'i barodrwydd i ym-

gymeryd âg unrhyw ymdaith neu lafur a allai hyrwyddo adferiad dedwyddwch i'w dad; yr hwn drachefn a ysgydwodd ei wallt arianaidd mewn dystawrwydd, ac a bwyntiai i fynu tua'r nef.

Deallodd Gwyndav beth oedd holl ystyr yr ysgogiadau hyny, a chan ymgrymu o dan bwys teimlad o barchedigaeth dwfn, ond dystaw, ymarllwysodd ei ddagrau yn ddylif, a gwnaeth ymruthriad disymwth tua'r goedwig gerllaw, a ystyrid yn gyfrin, os nad yn gysegredig.

---

## PENNOD III.

Dydd mawr a therfynol Gwledd Gorwest Maelgwyn Gwynedd a ddaeth, a dwfn oedd siomedigaeth y llys oherwydd absenoldeb y Bardd Brenhinol yn ystod cyfrau foreuol y wledd.

Yr oedd pryder y Brenin a'r Frenhines Maelgwyn ac Olwen mor ddyfnddwys yn nghylch yr hen Bencerdd a'i fab anffodus, fel y gwnaethant ymesgusawd i'w gweisteion am eu habsenoldeb hwythau am yspaid o'r nawn, tra yr elynt i ymholi yn nghylch yr henafgwr.

Yn ystod y cyfwng hwnw, cyfododd dadl yn mhlith y tywysogion a'r pendefigion gwahoddedig mewn perthynas i darddiad, safon, a mawredd gwirioneddol Maelgwyn ei hun, a theimlid yr eisiau am wybodaeth, barn, ac awdurdod hanesyddol Heinyn Fardd gan rai gwladgarwyr, yn arbenig pan gyfododd y ddadl ddifoes hon ar y cyfryw achlysur.

Yr oedd Cynlas, Einion, a Maeldaf, yn neillduol, â'u bryd ar wneud pob peth yn eu gallu i ddyogelu enw a chlod Maelgwyn rhag pob cysgod o ddiraddiad. Ychwanegwyd at eu hofn yn nghylch hyny pan glywsant Gwrtherin yn cy-

meryd rhan yn y ddadl, ac yn cyfarch y Tywysog Cynon, gan ddywedyd,—

"Fy Arglwydd Cynon, clywais di mewn cynadledd yn Nyfed yn mynegi pa fodd y daeth Maelgwyn yn oruchaf ar y deyrnas hon; a phe byddai i ti adrodd yr hanes yma yn awr, credaf y byddai yn foddion i derfynu rhai gwrthddywediadau a wnaed eisoes."

Cynon a atebodd,—"Nid wyf yn ystyried fy hun yn gymhwys i gydsynio â'r cais, yn gymaint a bod arwr yr amgylchiad yma yn wyddfodol yn awr, nid amgen Maeldaf yr Henaf."

Pa wedd bynag, pwyswyd ar Cynon i draethu ei lên, ac yntau a aeth yn mlaen,—

"Y mae'r hanes yn enill tir ac yn ymledaenu, a bydd cyn pen nemawr o flynyddoedd wedi ei osod yn mhlith croniclau mwyaf awdurdodedig ein cenedl. Wedi i'r Cymry golli coron a theyrnwialen Caerludd, a chael eu gyru allan o Loegria yn llwyr, cytunwyd i gynal cynadledd er penderfynu pwy a gaffai fod yn brif frenin arnom. Y man cyfarfod oedd Traeth Maelgwyn, ger genau'r Afon Dyfi, i'r lle y daeth prif wŷr pob parth o Gymru; ac yno, y Maeldaf y cawn yr hyfrydwch o'i gwmni yn awr a osododd Maelgwyn mewn cadair oedd wedi ei gwneud yn y modd mwyaf cywrain a gorwych o adenydd adar. Felly, pan y cyfododd y llanw anorthrechol, gyrodd yr holl dywysogion i ddianc bob un am ei einioes, oddigerth Maelgwyn yn unig, yn gymaint a bod y gadair o edyn adar yn ei alluogi ef i aros heb unrhyw betrusder, a thrwy hyny efe a ddaeth yn frenin, gyda'i air a'i ddeddf yn oruchaf ar yr holl dywysogion eraill."

Achosodd hyn ddadl ychwanegol, yr hon a gymerodd y cyfeiriad a ganlyn, trwy i un o'r arglwyddi ysbrydol gynyg, ar ffurf gofyniad,—

"A oes yn yr holl fyd frenin cyfuwch â Maelgwyn, neu un ag y darfu i'r Nefoedd ei gynysgaeddu â chynifer o radau ysprydol ag efe? Yn nghyntaf, ffurf a harddwch, addfwynder a nerth, heblaw holl alluoedd yr enaid?"

Ac at hyn fe ychwanegodd yr Arglwydd Elphin :—

"Y mae'r Nef wedi ychwanegu un rodd sydd yn rhagori ar yr holl roddion eraill, nid amgen lledneisrwydd a phrydferthwch, graslonrwydd a doethineb ei Frenhines, Olwen,—rhinweddau yr hon a ragorant ar eiddo yr holl arglwyddesau a'r gwyryfon urddasol trwy gyrau yr holl deyrnas."

Arweiniodd hyn drachefn iddynt ymholi yn mhlith eu gilydd, gan ofyn y naill i'r llall,—

"Gan bwy y mae arwyr mwy dewr ? pwy a fedd harddach neu gyflymach milgwn neu feirch? a chan bwy y mae parotach, cywreiniach, neu ddoethach beirdd nag a fedd Maelgwyn Gwynedd ?"

Pan oedd mwyafrif yr "arglwyddi ysbrydol a gwladol, y marchogion, a'r ysweiniaid" yn nghyda'r beirdd a'r telynorion, yn nghanol angerddolrwydd eu brwdfrydedd ar derfyn y datganiadau a'r gofyniadau oeddynt i gyfleu edmygedd o fawredd brenhinol a rhinweddau personol Maelgwyn ac Olwen, digwyddodd i'r ddeuddyn brenhinol ddychwelyd i'r llys, wedi bod yn ceisio Heinyn Vardd a'i fab Gwyndav, gyda'r bwriad caredig o'u dyddanu a'u cysuro.

Tra yr oedd y wledd yn cael ei pharhau yn y Castell, ac yn cynyddu mewn rhialtwch a rhwysg, yr oedd Gwyndav wedi cyrhaedd y goedwig gyfrin a grybwyllwyd eisoes, ac wedi treulio cyfran o'r nawn yno mewn myfyr a gweddi.

Yr oedd gwybodaeth y llanc mud a byddar am grefydd, fel e'i deallid yr amseroedd hyny, yn eglur a manwl, a'i ddefosiwn yn ddiffuant ac yn ddwys. Myfyriai yn ddifrifol am yr atebiad mud ond arwyddocaol yr oedd ei dad wedi roddi iddo ef y nawn blaenorol, a phenderfynai ddilyn yr hyn a arwyddoceid gan ystum a thremiad yr henafgwr adfydus, trwy ymroddi i geisio cyfarwyddyd a chymhorth gan anfeidrol Awdwr bodolaeth ei Hun.

Yn y twr y crybwyllwyd am dano o'r

blaen, yn perthyn i hen Eglwys hybarch y cwm, a'r nawn yr oedd y loddest yn cael ei hadnewyddu ac yn cynyddu o fewn y Castell, yr oedd y mynachod yn corganu gwasanaeth hwyrol eu crefydd hwy, ac yn cael eu cyfeilio gan y telynau, crythau, a'r amryfal offerynau tant ag oeddynt mewn arferiad eglwysig yn y cyfnod hwnw. Gwyddai Gwyndav am y capel ac am adeg pob gwasanaeth rheolaidd, ac er nad oedd corganiadau ac anthemau'r mynachod yn effeithio dim arno ef, gyda'i ddwylaw yn groesedig, a'i ben yn ymwyro ar ei fynwes, efe a aeth i mewn, ac yn mlaen at droed yr allor.

Er nad oedd ganddo eiriau i draethu ei ddeisyfiadau a'i ymbiliau, yr oedd syniadau a dyheuon ei enaid yn ymddyrchu at orsedd Trugaredd gyda duwiolfrydedd llawer tuhwnt i'r eiddo lluaws, a hwythau yn meddu dawn llafar, a'i defnyddient ar ffurf gweddi yn fwy fel esguseg, *yn lle*, yn hytrach nag yn gyfrwng cyflead teimladau yr enaid.

Gweddiodd Gwyndav gydag angerddolrwydd a pharchedigaeth annhraethadwy—gydag ymddiried ffydd, a llwyr ymroddiad i dawel ymostwng i'r hyn bynag a brofid yn ewyllys Duw—canys nid yw enaid dyn, wedi iddo unwaith gael ei ddwyn i wybod ac i garu ei Dduw, byth mewn angen am gyfarwyddiadau dynol na ffurfiau gosodedig er ei addysgu pa fodd i'w gyfarch a'i addoli. Fe ddichon fod calon y bachgen mud a byddar yn fwy cymhwys i glywed ac i ddeall llais cyfrin y Nef yn llefaru o'i mewn, na phe y buasai ei glustiau wedi eu hagor erioed i glywed seiniau halog y ddaear.

Ond, gan nad athrawiaethu yw ein swyddogaeth ni, eithr yn hytrach adrodd neu gofnodi rhanau o'r hyn a ddarllenasom neu a glywsom, neu a ddaethant rywfodd ar draws ein darfelydd, nis beiddiwn yn y fan hon geisio cyfleu mewn iaith y weddi hono a ehedodd i fynwes yr Hwn y mae Ei hanfod yn gariad, a hyny heb gynorthwy geiriau. Digon yw dywedyd, oddiar

awdurdod rhai o groniclwyr mwyaf diffuant yr hen oesau, ddarfod i'r weddi gael ei chlywed, ei gwrando, a'i hateb!

A'r llanc yn parhau ar ei liniau—ac eto yn cael ei enynu gan ryw ddyddanwch dwyfol tuhwnt i'n hamgyffred ni—teimlai rhyw boen disyfyd yn ei glustiau, gyda theimlad o rywbeth megys yn cael ei ysgaru o fewn ei wddf.

Cyfododd mewn dychryn ac ing, a theimlai, am eiliad, fel ar syrthio i lewyg. Ond yn ebrwydd wedi hyny, ymdorodd tyrfa o deimladau ac ymsyniadau newyddion a rhyfeddol ar ei ysbryd, oll gyda'u gilydd yr un pryd.

Nis gallwn gyfleu gwell meddylddrych am y teimladau a'r syniadau hyny na thrwy ddefnyddio ac aralleirio adroddiad Gwyndav ei hun yn mhen amser wedi hyny:—

Dychymyged y darllenydd ei fod yn sefyll yn nghanol rhyw neuadd eangfawr, a hono wedi ei llenwi â pheirianwaith mewn cyflym weithrediad, ac yn cynyrchu seiniau o amryfal fathau ac ansoddion, yn syfrdanu y glust gyda thrwst symbalau, clochdar udgyrn, ymrolion tabyrddau, tar andrwst dirgrynol y ddaear, clachiadau tyrau yn cwympo, a gwylltion seiniau myrdd o offer cerdd na chlybu clust erioed o'r blaen—oll yn cymysg ymarllwys i'w gilydd mewn un tryblith aruthrol o seiniau croch,—pe y dychymygai'r darllenydd ei fod yn cael profiad o hyn oll, efe a gaffai hefyd rhywfeddylddrych o'r ymsyniadau rhyfedd oeddynt yn pensyfrdanu'r llanc dychrynedig ar y pryd.

Pa fodd bynag, wedi ychydig funydau o'r dyoddefaint a'r profiad y ceisiwyd ei ddarlunio, lleihaodd a lleddfodd y tryblith trabludd hwnw o bob math o drwst annghydnaws a digordiad, a daeth Gwyndav i feddiant, yn anesboniadwy iddo ei hun, o'r gallu i wahaniaethu cydrhwng yr amryfal seiniau naturiol a effeithient ar organau ei glyw.

Yn ei synryfeddod addolgar, efe a chwyfiai ei freichiau am eiliad tua'r awyr, ac a safodd am yspaid byr mewn cyflwr ac ystum cyffelyb i un

mewn swyngyfaredd dwfn. Yr oedd yn teimlo fel pe buasai newydd gael ei hyrddio yn ddisymwth i gyflwr newydd o fodolaeth.

Yr oedd swn ei anadliad ei hun, pan y dyheuai yn nghyffrawd ei ysbryd—yr oedd tinciadau y gloch arian fechan a genid ar derfyn un o ranau'r gwasanaeth prydnawnol yn y mynachdy—lleisiau difrifol y côrganwyr, gyda murmuron peraidd yr offer cerdd—y swn a gynyrchai sangiad ei droed ei hun ar balmant addurnedig y capel—sibrydiad yr awel yn mhlith y cangau a gysgodent y ffenestr agored ger yr allor—yr oeddynt oll yn ei orlenwi â rhyfeddod, mawrygedd, diolch, ac addolgarwch.

Pan o dan y teimlad hwn, fe ymloewai gruddiau Gwyndav, fflachïai tanbeidrwydd o'i lygaid, chwys a daenellai ei ael, ei galon a ymchwyddai o'i fewn, fel pe buasai ar ymddryllio dan rym y teimladau a'i llanwent, hyd nes o'r diwedd, pan oedd efe ar lewygu gan angerddolrwydd y dedwyddwch a ryglyddid iddo gan ei ddyfodiad gwyrthiol i feddiant o'r gallu newydd hwn, efe a ymdaflai ar ei wyneb fel pe i geisio cofleidio y llawr cysegredig, a chafodd ymryddhad ac ymdawelwch trwy arllwys toraeth o ddagrau brwd a diolchiadau hyglyw.

Nid oedd Gwyndav ychwaith yn anwybodus nac anymsyniol o bwysigrwydd dirfawr y budd dyfodol a ddeilliai iddo ef a'r eiddo oddiwrth y cyfnewidiad rhagluniaethol hwn yn ei gyflwr. Deallai yn drwyadl ei fod wedi dyfod i feddiant o'r gallu anmhrisiadwy ag yr oedd y diffyg ohono, hyd hyny, wedi ei gadw ef gymaint islaw i'w gyfoedion, a'i alltudio o rodfeydd anrhydeddus gwyddoniaeth a dysg. Ymeangai ei enaid o'i fewn wrth feddwl y fath ddedwyddwch a roddai'r wybodaeth am y fendith ddigyffelyb hon i'w serchog a'i hybarch dad. Ac wrth fyfyrio ar hyn, meddiauwyd ei feddwl gan syniad a bwriad newydd, sef oedd hyny,—

Er mwyn cwblhau a pherffeithio gorfoledd yr henafgwr, barnai mai doethach fyddai iddo ohirio'r hysbysrwydd am y newydd bendigaid

hyd nes y byddai efe ei hun yn alluog i roddi sicrwydd o ddiamwysedd y galluoedd a dderbyniodd, a'i fod yntau eisoes yn alluog i gyfleu i eraill ryw gyfran o'r hyn yr oedd wedi eu gweled, eu clywed, a'u dysgu ei hun.

Gan gynted ag y cymeradwyodd ei ddeall y bwriad hwn, penderfynodd yntau ei ddwyn i weithrediad.

Dychwelodd tua'i gartref yn nystawrwydd y cyflychwyr, ac yn llawn o'r penderfyniad cyffroawl uchod. Ymarhoai yn fynych hyd ei lwybr anngbysbell drwy y goedwig gudd, er mwyn clywed cathlau ysbrydol (iddo ef) adar yr hwyr, trydar y colomenod coed, byr-nodau llon yr aderyn cywarch, murmuron y ffrydlif oedd fel—

"Elfen deneu ysblenydd,
Lyfndeg, yn rhedeg yn rhydd;
Rinweddol o lesol, lân,
Loew-oeraidd, o liw arian,"

a'r holl seiniau eraill a ymdorent mor beraidd ar dawelwch awyr yr hwyr.

Fel y dynesai at ddrws agored preswylfod ei dad, yr oedd yr hen fardd, mewn rhyw fath o bêr-lewyg awenyddol, yn tynu o dànau ei delyn seinber holl adnoddau hen alaw ddifrifol a lleddf, yr hyn a orlenwai'r gwrandawr ieuanc âg achos newydd o syndod a hyfrydwch.

Safodd a syllodd am enyd, tra yr oedd bysedd y telynor yn rhedeg yn gyflym dros dànau'r offeryn, a synryfeddai oherwydd y tristwch melusber a dreiddiai drwyddo dan ddylanwad yr hen alaw. Ond, er hyny, yn ei awydd am beidio bradychu ei gyfrinach yn anamserol, efe a aeth i mewn ac heibio i'w dad heb gymeryd arno ei fod yn clywed dim; er, pe na buasai enaid y bardd wedi cael ei drwytho gymaint gan frwdfrydedd ei awen, nas gallasai lai na sylwi ar brysurdeb a chyffrawd mwy nag arferol yn ysgogiadau ac ymagweddiad ei fab.

Dan effaith amryfal deimladau felly y treuliodd Heinyn a Gwyndav y noson ryfedd hono, a'r olaf yn ceisio dyfalu ac ymson,—

"Pa ddadleniadau pellach sydd ar ddilyn? Pa ryfeddnodau cyffrous ychwanegol sy'n ymneshau?"

## PENNOD IV.

YN y cyfamser, yr oedd y wledd yn Nghastell Dyganwy yn mawredd ei rhwysg, a'r unig ball ar hyfrydwch a gorfoledd y Brenin a'i westeion ydoedd parhad absenoldeb y bardd brenhinol Heinyn.

Yn ystod cyfwng yn y rhialtwch, cyffelyb i'r hyn oedd wedi cymeryd lle y dydd blaenorol, ymneillduodd Maelgwyn Gwynedd a'i frenhines am enyd, fel o'r blaen, yn nghanol llongyfarchiadau gorfoleddus, a mawrygedd clodforus y llys.

Gwrtherin o Ddyfed yn unig a deimlai genfigen ac eiddigedd; ac yn ei gyfrwysdra dichellgar, yn hytrach na rhedeg unrhyw rysedd i beryglu ei ryddid na'i safle ei hun, efe a benderfynodd ymdrechu dylanwadu ar ddiniweidrwydd Elphin ab Gwyddno, ab Gerfynion, ab Dyfnwal Hen, am y gwyddai mai un o wendidau Elphin ydoedd tuedd i organmol harddwch a phurdeb ei wraig, Eurgain, yn nghydag awen a medr ei fardd, Taliesin; ac ebe fe wedi cael cyfleusdra cyfrinachol :—

"Urddasol Elphin, pa fodd yr wyt ti, a thithau yn cael dy gydnabod fel un wedi ei fendithio â'r lanaf, yr harddaf, a'r buraf o wragedd, ac wedi dy freinio â gwasanaeth awenyddol un sydd wedi ei dynghedu i ddyfod yn Ben Beirdd Ynys Brydain, pa fodd yr wyt yn gallu goddef y gorfoliant eithafol hwn a roddir i rinweddau Olwen a medrusrwydd Heinyn? Onid yw hyn yn ymddangos i dy feddwl di yn gyfystyr o'r bron â dadganiad nad oes burdeb benywaidd amgen na'r eiddo'r frenhines, na pherffeithrwydd barddol onid yr eiddo prif-fardd y llys?"

Canfyddodd Gwrtherin yn ebrwydd ei fod wedi cyffwrdd â thant a ddeisyfai yn mynwes y diddichell Elphin, a chymhellodd ef i draethu e lên yn gyhoeddus. Ac Elphin a anerchodd y dyrfa gan ddywedyd :—

"Gwir a ddywedwyd nas gall neb llai na brenin gystadlu â brenin; ond oni buasai mai brenin yw gwrthddrych ein mawrygedd, buaswn yn datgan fod fy ngwraig i mor gyflawn o rinweddau ag unrhyw arglwyddes yn yr holl deyrnas, ac hefyd fod genyf fardd, yr hwn pan gyrhaedda ei oedran ac addfedrwydd ei awen, a dra ragora ar holl feirdd ei fawrhydi y Brenin."

Teimlai Gwrtherin erbyn hyn, tuag at gwblhau trachwant ei ysbryd, sef dilorni urddas, dileu mawredd, a difa poblogrwydd y Brenin, mai'r ffordd fwyaf effeithiol i gyrhaedd yr amcan hwnw fyddai defnyddio moddion i enyn cymaint ar lidiogrwydd Maelgwyn Gwynedd ag i beri iddo orchymyn carchariad y ffafryn Elphin.

Ni chollodd Gwrtherin nemawr amser heb ddefnyddio modd i wneud yr hyn a alwai yn "holl ymffrostion Elphin" yn wybyddus i'r brenin, yr hwn, pan glybu, a lidiwyd yn ddirfawr, ac a daranai yn ei ddigofaint:—

"Chwi warcheidwaid y castell a'r gaer, bwriwch yr Elphin i mewn i'r carchar dyogelaf, a rhwymwch ef â chadwen braff. Ond," efe a ychwanegai, gan ymddangos fel yn ymdyneru yn ei agwedd a'i lais, "fel na chyhudder ni o fod yn esgeulus o'r parchedigaeth dyledus i'r neb a fyddo o waedoliaeth brenhinol, megys y mae'r Arglwydd Elphin anffodus hwn, trwy ei fod yn ddisgynydd uniongyrchol o Dyfnwal Hen, Brenin Gwent, bydded y gadwen â pha un y rhwymer ef yn gadwen o arian pur."

Wedi i orchymyn y brenin gael ei gyflawni gyda golwg ar y carchariad, efe a ymsoniai cydrhyngddo â'i hun :—

"Fel na chosper Elphin ar gam, myfi a ddanfonaf fy mab, Rhun, i wneud ymchwiliad i wirionedd yr hyn a haerodd Elphin parth rhinweddau ei arglwyddes ac athrylith a medr ei fardd ; ac os oes rhywun o fewn cylch cred a all roddi prawf digonol ar gymeriad benyw, bid wraig bid forwyn, fy Rhun i yw yr un hwnw, fel y prawf y cyhuddiad annheg a ddygir yn ei

erbyn, sef nas gall ef gynal ymddyddan âg unrhyw fenyw heb i hono gael ei darostwng yn wrthrych gogan ac anair."

Wedi derbyn ei genadaeth gyda math o orfoledd aflan, fe sicrha un fabinogi fod Rhun wedi cychwyn gyda brys tua phreswylfod Elphin, a'i feddwl yn orlawn o'r bwriad o ddwyn gwaradwydd ar yr Arglwyddes Eurgain; ond fod ei bardd bachgenaidd Taliesin, trwy ei fuandra a'i graffder rhyfeddol, wedi dyfod i wybod am dynghed ei Arglwydd Elphin, a llwgr gyfrinach y Rhun ysgymun; ac wedi dywedyd wrth ei feistres ddychrynedig,—

"Ond na foed i'th urddasolrwydd betruso parth y canlyniad, canys yr wyf wedi cynllunio'r modd i ddyogelu dy rinwedd a'th fri."

"Pa beth a ddichon i dy gynllun fod?" gofynai Eurgain, mewn llais yn argoeli gradd o anmheuaeth ac ofn.

"A ganlyn," atebai Taliesin, "bydded i'th raslonrwydd arwisgo un o'th lawforwynion tecaf a mwyaf swynol, yn un o dy urddwisgoedd mwyaf drudfawr dy hun, a llwytho ei dwylaw â'r modrwyau mwyaf pridwerth a fedd fy arglwydd a fy arglwyddes; a chan nas gall fod Rhun nepell o ffordd bellach, maddeuer i mi am ddirgymell ar i hyn gael ei wneud yn ebrwydd."

Heb wastraff amser, cydsyniodd Eurgain yn awyddus a chythryblus, a chan barhau o dan gyfarwyddyd y bardd ieuanc, hi a osododd ei llawforwyn synedig, wedi ei harwisgo felly, i eistedd ger ei bord yn ei hystafell, yn barod i swper; a'r Arglwyddes ei hun i ymddangos ac i weithredu fel ei llawforwyn.

Pan oeddynt wedi trefnu felly, ac yn barod i ddechreu'r swper, gwnaeth Rhun ei ymddangosiad yn ddisymwth ac awdurdodol yn mhreswylfod Elphin, a derbyniwyd ef gyda phob ymddangosiad o groesaw a gorfoledd, canys yr oedd yr holl westeion a morwynion yn ei adwaen yn dda, ac wedi cael eu cyfarwyddo pa fodd i ymddwyn.

Arweiniwyd y Tywysog mewn brys i ystafell yr Arglwyddes Eurgain, yn nghyffelybiaeth yr hon y cyfododd y llawforwyn o'i chadair, gan gymeryd arni ei croesawu gyda llawenydd a pharch. Wedi hyny, hi a eisteddodd yr eilwaith wrth y ford huliedig, a Rhun yn unig gyda hi.

Yna dechreuodd y Tywysog gellwair yn chwareus gyda'r llawforwyn oedd yn parhau i ymgadw yn llwyddianus yn nhebygolrwydd ei meistres.

Ond y mae'r mabinogi yn ychwanegu fod y ffug-arglwyddes wedi ymdrechu i gynal y cellwair a'r llawenydd hyd nes, yn mhen enyd, iddi fyned i'r fath gyflwr o feddwdod diymadferth nes iddi syrthio i drwmgwsg yn ymylu ar lewyg dwfn; ac mai rhyw fath o gyffyr a ddododd Rhun yn ei gwin neu ei medd a gynyrchodd y fath drwmgwsg annaturiol, fel na ddarfu iddi deimlo y gradd lleiaf oddiwrth eithafrwydd yr erchyllwaith a gofnodir yn yr un chwedl, sef gwaith Rhun yn tori ymaith ei bys lleiaf yn llwyr oddiwrth ei llaw, am mai ar y bys hwnw yr oedd yr arwydd-fodrwy yr oedd Elphin yn ddiweddar wedi ei rhoddi yn anrheg i Eurgain!

Cofnodir hefyd fod Rhun, ar hyny, wedi dychwelyd yn gwbl ddirybudd tua Chastell Dyganwy, mor orlawn o hunanfawl a phe buasai gadfridog buddugol yn dychwelyd o frwydr derfynol, yn llwythog o yspail rhyfel maith; mai yr yspail a werthfawrogai efe gymaint oedd y bys a'r fodrwy, fel profion fod yr Arglwyddes Eurgain, yn ol ei adroddiad ef, y fath gymeriad ag i ymloddesta i'r fath eithafrwydd trachwantus, nes parhau am amser yn nyfnder hunlle ei meddwdod!

Mynegwyd i'r Brenin fanylion yr anfadrwydd. Petrusai Maelgwyn am enyd yn nghylch pa beth a wnelai, ai gofidio oherwydd y dichell a'r traha digyffelyb a gyflawnwyd gan ei fab ei hun —etifedd ei eiddo, ei goron, a'i deyrnwialen—ynte llawenychu am yr hyn y tybiai a gyfiawnhai ei waith ef yn carcharu Elphin am ei "wag-ymffrost" di-sail a thrahaus.

O dan y teimladau cymysg hyn, gwysiodd y Brenin gynghoriaid ei lys, ac yn eu plith, fel arwydd o barch i wahoddedig o dalaeth arall, estynwyd y gwŷs i'r Gwrtherin o Ddyfed, ysbryd maleisus yr hwn a wynfydai gan ymfoddhad oherwydd y llwydd a fu hyd hyny ar ei ddichellwaith.

Adroddodd Maelgwyn i'w gynghoriaid yr holl hanes, heb gelu iota o'r dechreu. Wedi hyny, archodd i Elphin gael ei ddwyn allan o'i garchar i'w wyddfod ef, a cheryddodd ef yn llym am yr hyn yr haerai oedd wedi ei brofi yn sarhad ar y Goron, os nad yn deyrnfradwriaeth hefyd, ac efe a ddywedodd yn mhlith ynfyd-bethau eraill, —

"Elphin! gwybydd o hyn allan, a hyny tu-hwnt i bob anmheuaeth, nad yw onid ynfydrwydd gwallgof i unrhyw ddyn ymddiried yn rhinweddau ei briod ddim pellach nag y gallo efe ei gweled. Ac yn awr, er mwyn i ti gael cyflawn sicrwydd o anfoes dy wraig, gwêl yma ei bys gyda'th arwydd-fodrwy dy hun arno, a wahanwyd neithiwr oddiwrth ei llaw, pan oedd hi mewn cyflwr o ddideimladrwydd bwystfilaidd gan gyfeddach a meddwdod!"

Wedi sylwi yn fanwl ar yr hyn a ddangosid iddo, llefarodd Elphin,—

"O rhynged bodd dy fawrhydi, mi a addefaf nas gallaf wadu fy modrwy, canys y mae yn adnabyddus i luaws hyd yn nod o arglwyddi gwyddfodol yn dy lys yn awr. Ond am y bys, gylch pa un y mae fy modrwy fy hun, trwy ryw ddirgelwch, wedi ei chael, beiddiaf ddatgan yn y modd mwyaf pendifaddeu na fu erioed yn perthyn i law fy mhriod Eurgain."

"A elli di gynyg rhyw brawf o wirionedd yr hyn a haeri, yn lle fel hyn ychwanegu sarhad at sarhad a throsedd at drosedd?" gofynai Maelgwyn.

"Gallaf," atebai Elphin, yn llawn hyder, "y mae genyf dri o brofion, a phob un o'r tri yn ddigon i argyhoeddi dy fawrhydi a holl gynghoriaid dy lys o wirionedd yr hyn a honaf; ond y tri gyda'u gilydd a wnant gadwen gadarnach nag y gall hyd yn nod Tynghed ei hun ei dryllio!"

## PENNOD V.

Mewn llwyr anwybodaeth o'r hyn oll oedd yn myned yn mlaen yn Llys Maelgwyn ac yn mhreswylfod Elphin, treuliodd Heinyn Vardd a'i fab Gwyndav noson fwyaf bloddestus y wledd yn eu hanedd eu hunain, mewn cyflwr meddwl hollol wahanol y naill i'r llall, a'r hen fardd yn parhau i gael ei gadw mewn anwybod am y cyfnewidiad rhyfeddol yr oedd Gwyndav wedi ei brofi.

Yr oedd teimladau, tymheredd, ac athrylith yr olaf yn naturiol yn fywiog, hydwyth, a disglaer, ond daethant yn annrhraethol fwy felly o dan ddylanwad y cyffrawd newydd yr oedd wedi d'od i'w deimlo a'i fwynhau, a galwyd ar yr ymsyniadau o orfoledd, ofn, gofid—holl deimladau mewnol ei anian—i weithrediad mwy pendant ac egniol, gan yr ymgymhelliad hunangynhyrfiol yr oedd y syniad gwynfydol hwn yn ei gyflenwi yn barhaus. Nid oedd efe, hyd hyny, wedi derbyn gwybodaeth, oddieithr megys mewn defnynau bychain, a'r rhai hyny wedi eu hidlo o'u nôdd; ond yn awr fe ruthrai gwybodaeth fel llifeiriant dros ei enaid; teimlai fel pe buasai'r ddaear yn rhy gyfyng i gynwys ymeangiad ei ysbryd. Yr oedd yn cael ei orthrechu gan fawredd ei anian ei hun, a chyda'r difrifwch mwyaf efe a ymsoniai:—

"Yr wyf yn penderfynu, os yr Arglwydd a'i myn, na chaiff un eiliad ei cholli heb gael ei defnyddio at gysegru i'w hamryfal ddybenion mwyaf perffaith y dalent newydd y mae'r Mawredd wedi ei hymddiried imi."

Mewn ychydig amser, yr oedd Gwyndav yn canfod ei hun yn gwbl alluog i efelychu pob math o sain a glywai mewn cymdeithas, a deallai drwy ba fodd yr oedd dynion yn cyfleu eu meddyliau y naill i'r llall. Yr oedd cyflymdra a chraffder

ei allu i sylwi, gyda'i gôf gafaelgar a diball, yn ei wneud yn feistr dyben ac arwyddocad pob brawddeg ac ymadrodd yr oedd erbyn hyn yn gallu eu clywed, ac efe a ymneillduai beunydd i guddfeydd a gelli y goedwig ddirgel, yn ddyogel o olwg a chlyw dynol, i ymarfer â'r trawsgyweiriadau a'r amrywiaeth pwysleisiou yn y llais ag oeddynt yn ei gyfareddu gymaint wrth wrandaw ymddyddanion pobl eraill; ond yn mhob cyfeillach efe a gadwai, hyd yn hyn, y gyfrinach iddo'i hun, hyd yn nod rhag gwybodaeth ei dad hyd nes y caffai berffaith sicrwydd nad oedd y cyfan amgen na hudlewyn am dymhor.

Ond gan ei fod yn teimlo cadw'r gyfrinach yn pwyso gormod ar ei feddwl, un diwrnod efe a sisialodd cydrhyngddo â'i hun,—

"Y mae bellach angen anhebgor am i mi ymddiried y dirgelwch hwn i ryw un a all dosturio a gweithredu droswyf; a phwy o bawb a allaf ymbil arno i wneud hyny yn hytrach na'r hwn sydd, tuhwnt i anmheuaeth, yn meddu'r tueddfryd a'r gallu i fy nghynorthwyo yn fy nghynllun,—nid amgen penaeth y fynachlog gysgredig lle y derbyniais fy nghlyw a fy llafar? Y mae efe yn berffaith adnabyddus, trwy faith fyfyrdod, dysg, a hunan-aberthiad, trwy yr holl fro, ac yn feddianol ar edmygedd a serch pawb a'i hadwaenant. Ei gymhorth ef a geisiaf."

Yr oedd y Tad Tudwal yn ei gyfrin-ystafell pan y galwodd Gwyndav wrth borth y fynachlog ac y gwnaeth arwyddion o'i ddeisyfiad i gael myned i mewn, yr hyn a ganiataodd y prif borthor iddo yn ebrwydd.

Tywyswyd y llanc i wyddfod y Tad Tudwal, yr hwn a'i derbyniodd gyda lledneisrwydd a ffafr. Yr oedd er's amser maith wedi sylwi ar fywyd defosiynol a serchogrwydd mabol y bachgen mud a byddar, ac wedi teimlo dyddordeb arbenig yn ei sefyllfa a'i ragolygon, yn nghydag yn mhrofedigaethau adfydus y tad. Ond nis gallasai dim beri iddo'r fath syndod gorddwfn, yn ymylu ar fraw enaid-dreiddiol, na chlywed y

gwr ieuanc, yr hwn oedd yn dirgrynu a bron yn wylo dan effaith y teimladau cyffrous, yn ei gyfarch mewn llais tyner a hyglyw, gan draethu iddo hanes yr ychydig fisoedd oeddynt newydd fyned heibio.

"Yr ydwyf," ebe Gwyndaf, ar ol adrodd ei holl brofiad heb gelu dim, "yr ydwyf yn deisyf cadw hyn oll yn gyfrinach oddiwrth fy nhad ac oddiwrth y byd hyd nes y byddaf yn teimlo yn gwbl ddibetrus parth dilysrwydd fy nghyflwr newydd, ac wedi gwneud rhyw gymaint o gynydd yn fy efrydion ag a fyddent deilwng o un o fy oedran i, fel y byddo ei orfoledd ef, ac addefiad fy nghydnabod o raslonrwydd yr Ior, gymaint a hyny yn fwy."

Ebai'r Tad Tudwal, wedi rhoddi arwydd o ddymuniad am eiliad o ymddihuddiant oddiwrth yr hyn [a'i meddianodd mor annisgwyliadwy,—

"Gwyndaf ab Heinyn Vardd! y mae y prawf newydd hwn o dy athrylith, dy benderfyniad, a'th hunan-ymwadiad yn gwbl a hollol gydnaws â'r hyn oll a dybiais oeddynt yn brif nodweddion dy fywyd o'i ddechreuad, ac yr wyf inau, nid fel ffafr i ti, eithr fel dyledswydd, boddhad, ac anrhydedd i mi fy hun, yn gystal ag fel daioni a dywenydd i'n cenedlaeth a'n cenedl, wedi penderfynu cymeryd dy addysg i fy nwylaw ac o dan fy ngofal arbenig fy hun, tra y parhao yr angen am hyny. Ni phery yr amser eithr enyd fèr, canys yr wyt eisoes o dan nawdd a nôd Rhagluniaeth y Nef."

Aeth yspaid fèr arall o amser ymaith, ond nid i ebargofiant, a pharhaodd y dirgelwch yn drwyadl cydrhwng Gwyndav a'i athraw cysegredig. Yr oedd yr addysg a gyfranai y Tad Tudwal i'w ddysgybl dyddorol yn llwyr ac yn drwyadl yn y cangherau hyny o wyddoniaeth ag a gyfansoddent broffeswriaeth Heinyn Vardd, ac nid cyffredin ydoedd ei gynydd yn y dosparthiadau hyny o wybodaeth gyffredinol ag oeddynt gyfaddas i ffurfio ac eangu ei feddwl, fel ag i'w wneud yn fwy galluog i ragori mewn unrhyw sefyllfa neu alwedigaeth neillduol.

Yr oedd dydd o ddyddordeb a phwysigrwydd aruthrol i ieuenctyd Gwynedd, Gwent, Dyfed, a Morganwg wedi ei benodi i gael ei gynal fel maen clo ar yr wyl rwysgfawr yn Nghastell Dyganwy, trwy fod yn ddydd cystadleuaeth yn eu plith am y safle urddasol a ryglyddid trwy Raith Gorsedd i'r un a haeddai fod yn Fardd Brenhinol, fel olynydd Heinyn Vardd. Yn ei gyhoeddiad o'r arwest hon, dywedai Maelgwyn :

"Yn gymaint a bod fy Mardd Brenhinol, Heinyn, yn teimlo fod ei ddyddiau ef ar derfynu, ac nad oes obaith i'w fab anffodus, Gwyndav, fod yn olynydd i'w anfarwol dad, y mae yr hen Brif-fardd wedi cyflwyno ei ymddiswyddiad yn ffafr yr ymgeisydd ieuanc mwyaf haeddianol. Gan hyny, danfoner gwŷs a gwahawdd i bob bardd ieuanc trwy bob talaeth a phob teyrnas, fel y caffer y gystadleuaeth ardderchocaf yn hanes crêd ! "

Ac felly y gwnaed, a theimlai pawb fod gogoniant yr wyl i gael ei anfarwoli gan yr Eisteddfod ddigyffelyb hon.

Fel y dynesai y dydd, yr oedd Heinyn Vardd yn teimlo fod rhyw drymder dyeithr yn pwyso ar ei ysbrydoedd, ac efe a ymsoniai yn ddiweddar :—

"Er fy mod yn hyderu nad y teimlad daearol o ofid oherwydd gorfod canfod dynesiad y dydd y bydd raid i mi roddi i fynu y swydd a'r urddas a feddianais cyhyd,—nad hyn ydyw unig achos fy nhristwch anaele, canys y mae genyf ffydd fy mod wedi gwneud fy heddwch â'r Dwyfoldeb y câf fy nghyflwyno i'w wyddfod yn fuan,—y mae yn rhaid i mi addef nad yw fy ofnau parth tynged fy anffodus fab yn lleihau wrth ddyfalu awr ein gwahaniad olaf. Yr wyf wedi sylwi yn ddiweddar fod nodwedd ac ymddygiad fy Ngwyndav wedi cyfnewid yn ddirfawr. Ymddengys fod ei fywiog a'i ddeallgar gelfyddyd o wneud ysgogiadau corphorol er amlygu ei feddwl a'i ddeisyfiadau wedi ei adael, ac yn ol y mesur, y mae'n ymddangos fod ei ddyddordeb yn iaith

a defodau cymdeithas yn cynyddu, ac fod cyfryngau ei gymundeb âg anian yn lleihau. Y mae ei rudd wedi gwelwi dan effaith ei ymroddiad diball at ryw efrydion celyd ddydd a nos, y rhai y mae mor awyddus i'w cadw yn gudd rhag fy ngwybodaeth i, ac yr wyf yn ofni fod geri neu dwymyn andwyol o ryw fath wedi cymeryd meddiant o'i gyfansoddiad cadarn a hoew. Y mae ei lygad wedi colli ei fuandra pelydrog ac aflonydd, gan ddyfod yn fyfyrgar a difrifol yn argraphiad ei drem. Hyn oll a orletha fy ysbryd ac a drymha fy maich!"

Fel y dynesai dydd y gystadleuaeth fawr, yr oedd Gwyndav hefyd mewn cyflwr meddwl ag oedd agos a bod tuhwnt i'w allu ef i'w ddyoddef. Ac erbyn yr hwyr flaenorol a nesaf i'r arwest, yr oedd ei ysbryd yn cael ei hyrddio a'i chwyrnellu yn ol ac yn mlaen yn debyg i fôr yn cael ei gythryblu dan ymosodiad tymestloedd disymwth. Weithiau, byddai ei hyder mewn llwyddiant a'i ganlyniadau yn ei gyffroi i radd oedd o'r braidd yn wynfydrwydd dirboenus; bryd arall, fe ymruthrai llanw pygddu o ofnau dros ei feddwl; a rhagolygon daroganol o fethiant, gwaradwydd, a distryw, a allent ddilyn ei ymdrechion tranoeth, a ysgytient ei enaid â dychrynfeydd annhraethadwy.

Nid oedd yr hen Heinyn, yr hwn a ymsuddai dan lwyth ei deimladau ei hun, yn alluog i sylwi ar gyffrawd arteithiol ei fab.

Fel arfer, wedi swper dygodd Gwyndav ei glarsech i Heinyn, yr hwn gyda chwyfiad ar ei law, dealladwy cydrhyngddynt hwy, a archodd ei symud yn ol, gan awgrymu trwy ysgogiadau, y rhai o'u cyfleu mewn geiriau fuasent a ganlyn:

"Y mae fy ngofid i yn awr y cyfryw nas gall peroriaeth ei leddfu, eithr yn hytrach ei ddyfnhau!"

Syllai'r llanc arno gyda golygon gorlawn o bryder. Pan gafodd yr hen Brif-fardd gipolwg ar ei lygad, estynodd iddo ei law, gydag argraphiad addfwyn o serch ar ei wedd, a thynodd

ef ato gan ddywedyd, yn gwbl anymsyniol fod pob gair yn cael ei glywed a'i ddeall,—

"Fy machgen druan! Bydd yfory yn ddiwrnod chwerw i dy dad. Pan ddarfu fy mhryd-ferth Forfudd gyntaf dy osod yn fy mreichiau, a thithau yn faban tlws ac iachus, credais y cawn un dydd dy weled yn alluog i etifeddu eiddo a dyledswyddi dy dad, a phrin y galarwn uwch ei beddrod bore hi pan yr edrychwn ar dy wyneb teg, ac y meddyliwn am y dyfodol. Ond ceryddwyd fi gan y Nefoedd am fy hunanoldeb a fy ngwagedd. Y mae'r dydd ar ddyfod ag yr oeddwn wedi edrych yn mlaen ato gyda'r fath falchder, a byd! raid i tithau, fy mab, sefyll yn segur gerllaw tra y bydd i fab rhyw estron wisgo'r fodrwy aur a chanu telyn dy dadau! Ac eto, nid hyny yw holl achos fy adfyd yn awr; ond canfod fy aelodau wedi gwywo gan henaint, a bod fflam bywyd yn dirgrynu yn ei chanwyll-bren o fy mewn, a minau yn ceisio dyfalu, pan y bydd iddi gael ei llwyr ddiffoddi, pa faint fydd y tywyllwch a amgylcha dy rawd!"

Ni fu celu a chadw ei gyfrinach yn orchwyl mor galed i Gwyndav o'r dechreu ag yr ymddangosai'r foment hono. Teimlai fel pe buasai holl adnoddau ei ysbryd penderfynol yn annigonol i'w atal rhag taflu ei hun wrth draed ei dad, dadlenu iddo yr holl wirionedd, a gwneud y cyffesiad, gan ddweyd,—

"Na thralloder di, fy mendigaid dad! Nid yw dy holl obeithion i fyned yn ofer. Nid yw fy nghlustiau yn fyddar na fy nhafod yn fud; ac nid wyf inau y fath greadur diymadferth ag yr ofni. Yr Arglwydd a glybu fy ngweddi, ac a roddodd i mi y galluoedd hyny i hawlio a haeddu'r safleoedd o anrhydedd ag y darfu i'th grebwyll a'th serch eu cynllunio gyntaf!"

Ond llwyddodd i orchfygu ymgymelliad nerthol ei gariad mabol, ac heb yngan gair, efe a brysurodd i geisio cynghor a chynorthwy penaeth y Fynachlog.

## PENNOD VI.

TRA'R oedd Gwyndav yn ymgynghori â'r Tad Tudwal yn y fynachlog, ac Elphin yn egluro i'r llys cyffroedig yn Nghastell Dyganwy ei dri phrawf pa mor annichon oedd fod y bys a ddygwyd yno gan Rhun wedi bod erioed yn gyfran o law ei Arglwyddes Eurgain—yr hyn a ystyriai Maelgwyn yn hyfdra a sarhad arall o'r eiddo Elphin, a'r hyn a'i llidiai drachefn mor aruthrol nes y gorchymynodd ei ail garchariad, gyda phenyd creulonach nag o'r blaen—yr oedd Eurgain a'i bardd, Taliesin, yn cydlawenhau oherwydd llwyddiant eu cynllun i ddyrysu dichellion Rhun, a'r ddau yn anwybodol o'r gyflafan a gyfawnwyd ar lawforwyn yr arglwyddes. Cymaint a wyddent hwy i sicrwydd ydoedd, fod gosgordd y tywysog, dan ei orchymyn ef, wedi dodi y fun anffodus mewn cerbyd, a'i chymeryd i gastell bychan oedd ar y ffordd i Ddyganwy.

Dyna'r dynged waethaf y tybiai Eurgain a Thaliesin oedd wedi goddiweddyd y ferch, a pharhaent hwythau i gydlawenhau.

Ond nid oedd athrylith y bardd bachgenaidd yn caniatau iddo esgeuluso ei noddwr, ac efe a ddywedodd wrth ei feistres,—

"O rhynged bodd dy raslonrwydd, nyni a ddylem dymheru ein gorfoledd â'r gwirionedd mai o'n plegyd ni ein dau y mae fy arglwydd yn ngharchar!"

Ymdaenodd tristwch disymwth dros ysbryd a gwynebpryd Eurgain. Ond ychwanegodd Taliesin, gan ddywedyd:—

"Na chythrybled meddwl fy arglwyddes. Myfi, yn rhinwedd fy swydd fel bardd a derwydd, a ymddangosaf gerbron Maelgwyn Gwynedd a'i lys, a fy nghenadaeth ato a fydd rhyddhad ei arglwyddiaeth Elphin ab Gwyddno."

Hithau a ofynodd mewn pryder, "Pa fodd y gelli obeithio ei gael yn rhydd tra'r brenin dan ddylanwadau mor aflan a'r eiddo Rhun a'i gymdeithion?"

Ebai Taliesin: "Y mae gwyl fawreddog Maelgwyn Gwynedd wedi terfynu, ac y mae ei gogoniant ar gael ei anfarwoli gan Arwest Farddol na chofnodir ei chyffelyb yn holl hanes Barddas. Mewn canlyniad i ymddiswyddiad y Pencerdd Brenhinol Heinyn Vardd, oherwydd henaint a methiant, ac yn gymaint a bod ei unig fab yn analluog i etifeddu a chyflawni ei swydd ef, y mae'r Arwest hon i gynwys cystadleuaeth yn mhlith beirdd ieuainc yr amryfal deyrnasoedd am yr anrhydedd o fod yn olynydd i Heinyn Vardd. Wedi terfyniad yr wyl a'i gloddest, ac agoriad yr Orsedd, gyda'i 'Gwir yn erbyn y byd,' a'i 'Duw a phob daioni,' bydd dylanwadau traws cynllunwyr brad wedi lleihau a'r eiddo 'Gair Duw yn uchaf,' gyda'r egwyddor o 'Garu pob hanfod,' wedi cyrhaedd a dechreu ffynu a llenwi y llys. Minau a äf yno, ac yn y gystadleuaeth am eur-fodrwy, sef swydd y Prif-fardd, mi a ganaf ganiad a effeithia ar hyny o ddaioni a all fod yn aros yn anian Maelgwyn Gwynedd, ac yna gwefreiddiaf ef â thosturi ac awyddfryd am weithredu cyfiawnder trwy ryddhau fy arglwydd Elphin. Ond, os methaf yn yr amcan hwn, dychrynaf ef i ganiatau fy nghais trwy ganu iddo ganiad llawn o fygythion a melldithion yn cynwys y llinellau a ganlyn," a datganodd Taliesin ddernyn yn hen Gymraeg y cyfnod hwnw, aralleiriad o gyfran o ba un fyddai rywbeth tebyg i hyn :—

Myfi, Taliesin, fydd benaeth Barddas,
Derwydd mewn dysg, a braint, ac urddas,
A hawliaf Elphin i ryddid bendigaid,
O garchar a chadwyn trais melltigaid.
Na foed i Maelgwyn Gwynedd byth
Na rhad na rhyddid tra ynddo chwyth,
Am y trawsder mall a wnaeth,
Ac aed i'w fron wenwynol saeth !
A'i fab, sydd gronfa o bob anhaeledd,
Ei ddiwedd ddelo trwy ddialedd !
I Rhun a'i drâs, tra mewn bodolaeth,
Oes fèr fo'u rhan, ac erch farwolaeth !
A gwae'r Fâd Felen a'i dirdynedd,
Tra'n alltud, gaffo Maelgwyn Gwynedd !

Eisteddai Eurgain am enyd heb yngan gair, a sylwodd Taliesin fod ar ei gwyneb a i hystum argraph cymysg o dynerwch, pryder, a phenderfynolrwydd. Yna hi a gyfododd o'i chadair yn ddisymwth, a gofynodd,—

"A pha bryd yr wyt yn bwriadu cychwyn tua Dyganwy ar y neges ryfeddol a egluraist i mi?"

"Gyda thoriad gwawr tranoeth i yfory, fel y gallwyf fod yno cyn agoriad yr Orsedd," oedd atebiad Taliesin; ac ebai Eurgain, er dirfawr syndod i'r ieuanc fardd :—

"Ni fydd raid iti gerdded na chludo dy delyn, oblegyd fy mod wedi penderfynu myned gyda thi ; a ni a awn yno yn fy ngherbyd harddaf, a chyda gosgordd o'm gwŷr mwyaf arwrol eu hagwedd a mwyaf dilychwin eu moes !"

"Minau a erfyniaf am nawdd y Nef i mi a fy ngostyngedig gais at fod yn foddion rhyddhad fy arglwydd Elphin," ebai Taliesin, mewn arddull teilwng o henafgwr difrifol; "a rhynged bodd Rhoddwr pob daioni ryglyddu i fy arglwyddes y gorfoledd o fod yn llygad-dyst o adferiad gorfoleddus ei phriod i'w fuddianau, ei freiniau a'i fri !"

Tra'r oedd hyn yn myned yn mlaen yn mhreswylfod Elphin, yr oedd y darpariadau mwyaf yn cael eu gwneud ar gyfer yr Arwest Farddol oedd ar gymeryd lle yn Nghastell Dyganwy, ac yr oedd yr ieuanc Gwyndav yn derbyn ac yn gwerthfawrogi'r cynghorion a'r cyfarwyddiadau a roddid iddo gan y Tad Tudwal, yr hwn, yn mhlith pethau eraill, a ddywedai—

"Y mae yn naturiol i ti, fy mab, deimlo'n awyddus a chythryblus wrth geisio dyfalu beth fydd dy ran ar ddydd mawr dy brawf, yr hyn sydd bron wedi dy oddiweddyd. Ond yr wyf yn deisyf arnat i ymladd yn erbyn pob pryder a fyddo yn cynwys cymysgedd o orawydd ac ymgymhelliad anianol a bydol. Gwybydd y gwahaniaeth sydd cydrhwng y gorawydd hwnw am gyrhaedd llwyddiant a'r gofal hwnw am ei deilyngu. Y mae'r cyntaf yn feius a hunangarol,

ac yn rhwym o lesteirio, tra yr ail yn rhinwedd goruchel nad yw ond anfynych yn pallu hyrwyddo cynydd yr awyddus. Am danat dy hun, fy mab, gallaf dy hysbysu nad oes genyf fi anmheuaeth parth dy lwyddiant yn yr arbrofion celyd yr wyt ar fedr ac agos myned iddynt. Ond bydded dy ymgymhelliad i ragori a llwyddo—bydded yn lân oddiwrth bob syniad ac awyddfryd bydol a hunangar. Yn awr, dos a gorphwys dan nodded Naf."

Bore dydd yr Arwest Farddol a ddaeth. Yr oedd Eurgain a'i bardd ieuanc Taliesin, gyda'u gosgordd o Gymry dewr, wedi teithio o breswylfod Elphin a chyrhaedd Dyganwy erbyn toriad y wawr; a mawr oedd dyryswch meddwl y brenin, Maelgwyn Gwynedd, pan glybu hyny. Nis gallai ddirnad pa fodd yr oedd yn ddichonadwy fod yr arglwyddes Eurgain wedi gallu teithio yr holl ffordd i Ddyganwy, ac yntau wedi cael profion mor ddiymwad, yn ei dyb ef, o'r cyflwr gwaradwyddus a dinystriol ag yr oedd hi wedi ei gadael ynddo gan ei fab Rhun yn y gaer fach ger glàn y Gonwy, lle nad oedd yn ddichon iddi gael y cerbyd gwych a'r osgordd hardd y dywedid wrtho ei bod yn eu meddu yn awr. Pa wedd bynag efe a benderfynai wneud archwiliad er mwyn ceisio egluro'r dirgelwch, a danfonodd ei brif ystafellydd allan gyda'r wŷs ganlynol i holl swyddogion ei lys :—

"Yn gymaint a bod rhyw ddirgelwch beichiog o ddefnyddiau anesmwythyd, os nad cyfyngderau, i ni, wedi dyfod i fy ngwybodaeth, er yn gwbl tuhwnt i fy amgyffred, ac fel nas caffo dim darfu llwydd ein Harwest Farddol, yr wyf yn eich gwysio, un ac oll, brysuro i fy nghyfrin-ystafell, heb adael i awydd am ragbarotoad nac unrhyw rwymedigaeth eich atal am eiliad, fel y gwnelom ymchwiliad teilwng i'r gyfrinach newydd hon!"

Ufuddhaodd pob un yn ebrwydd, yn nghyda dau neu dri o'r hen feirdd a ymwelsant â'r Castell ar gyfer yr Arwest, ac i'r rhai yr anfonwyd yr un wŷs.

Wedi gorchymyn i'w weinidogion dalu pob parch a gweini pob gwasanaeth angenrheidiol i'r Arglwyddes Eurgain, ei bardd, a'i gosgordd, fel na chyhuddid ef o ddiffyg gwesttygarwch, gosododd y brenin y mater gerbron yr arglwyddi a'r beirdd, y rhai a orthrechid gan bensyfrdandod aca addefent eu llwyr anallu i ddadrys y dyryswch hyd nes y dywedodd un o'r hen feirdd,—

"Gyda chaniatad fy arglwydd Frenin, myfi a grybwyllwn y doethineb o ddanfon am y foneddiges i wyddfod ei Fawrhydi, fel y rhoddo ei chyfrif ei hun o'r hyn a ymddengys i ni tuhwnt i ddirnadaeth."

"Doeth!" meddai Maelgwyn. "Poed felly y bo, a hyny yn ddioed, sef mor ebrwydd ag y gellir, yn gyson â phob arddangosiad o barch i bendefigaeth."

Ac felly y gwnaed. Ond gwrthodai Eurgain ymddangos gerbron y llys heb gwmni cynorthwyol ei bardd Taliesin. Wedi cael awdurdod i hyny ymddangosodd hi a'i bardd, er nad heb betrusder, yr hyn a fwyhaodd benbleth Maelgwyn a'i gynghoriaid.

Wedi cael adferiad i radd o hunanlywodraeth, gofynodd y Brenin :—

"Ai ni fu'r Tywysog Rhun yn dy breswylfod a'th gwmnïaeth, fel gwesttywr, yn ddiweddar?"

Sylwodd Taliesin fod ei feistres yn ymddirgrynu gan gyffro meddwl, a brysiodd i ateb drosti :—

"Gan erfyn maddeuant dy fawrhydi, myfi a erfyniaf ryddid i ateb dros fy arglwyddes. Myfi, a myfi yn unig, sydd yn gyfrifol am yr hyn yr ymddengys ei fod wedi peri cymaint o drafferth i'r llys;" ac eglurodd, yn gwbl ddifloesgni, ac heb y gradd lleiaf o ofn gwasaidd traethu'r "gwir, yr holl wir, a dim ond y gwir," gyda golwg ar eu gwaith yn gwisgo'r llawforwyn yn niwyg ei harglwyddes, gan orlwytho'i bysedd â'r modrwyau mwyaf pridwerth o fewn y palas, "yr hyn," ychwanegai Taliesin, "a rydd gyfrif am y ffaith fod dwylaw fy arglwyddes yn awr yn ddifodrwy."

Nid heb ryw syniad o fraw haner ofergoelus yr anturiodd y brenin, am y waith gyntaf, edrych ar law Eurgain, pan y canfu fod ei dwylaw, yn gyfain a dianaf.

Wedi yspaid o ddystawrwydd, edrychai Maelgwyn fel pe yn cael ei adfeddianu gan un o'i hen dymherau o ddigofaint nerthol, ac efe a ddywedodd yn ei lid,—

"Gwysier a hyrddier Rhun i fy ngwyddfod! Nid oes eiliad i gellwair â hi. Pan drosedder yn fy erbyn, un ffunud yw câr ac estron i mi, ac ni wnaf fwy o wahaniaeth rhwng etifedd fy nghoron na'r bradwr anfataf o fewn fy nheyrnas!"

Pan hysbyswyd Rhun o'r hyn oll oedd wedi cymeryd lle yn y llys y boreu hwnw, efe a ofnai y gwaethaf; a phan gyrhaeddodd gyfrin-ystafell ei dad, ac y canfu'r holl wyddfodolion, efe ymsiglai fel meddwyn gan ofn a dychryn gwasaidd a bâs, ac yn gyson â'r baseiddiwch llyfrgïaidd hwnw sydd yn nodweddiadol o bob un cyfranog o anian anifeilaidd Rhun, nid mewn edifeirwch, eithr mewn arswyd gorthrechol, efe a gyfaddefodd ei holl anfadwaith yn mhreswylfod Elphin, y modd y darganfyddodd ei fod wedi cyfarfod â'i drech mewn craffder, a'i ragorach mewn cynllun, a'r cyflwr ofnadwy yn mha un yr oedd efe wedi gadael y ferch druan yn y gaer ger glàn y Gonwy.

Wedi clywed hyn oll, llefarodd Maelgwyn Gwynedd, mewn teimlad a llais cymysg o lidiogrwydd a gofid, gan ddywedyd,—

"Nis gallaf ymddiried digon ynwyf fy hun i ymdrafod ychwaneg â'r anfadwaith hwn ar hyn o bryd! Ond y mae genyf allu i wneud ryw ychydig at geisio cynyg gradd o iawn; ewch a hysbyswch Elphin ab Gwyddno fod ei Arglwyddes Eurgain a'i fardd Taliesin yma, ac yn dyheu am ei weled. Gwneler hyn yn ddiatreg a dirwysg, eithr gyda sicrwydd o deyrnged dyledus i bendefig o waed brenhinol, ag y mae genyf y ddyledswydd o gynyg cymod âg ef, nid amgen Elphin ab Gwyddno!"

## PENNOD VII.

FORE dydd yr Arwest Farddol, gellid gweled Gwyndav ab Heinyn Vardd, yn cael ei arwain gan ei hybarch athraw, y Tad Tudwal, o'r fynachlog, yn cyfeirio eu camrau yn bwyllog a difrifol tua'r orsedd. Yr oeddynt yno mewn pryd digonol i fod yn dystion o'r holl ddefodau barddol ag y tybid eu bod yn anhebgorol i agoriad yr orsedd yn gyfreithlawn a'i rheithiau yn awdurdodedig.

Cymerai Gwyndav, yn enwedig, y dyddordeb dyfnaf yn yr holl weithrediadau, ac yr oedd Gweddi'r Orsedd, yr hon a offrymid gan hen Dderwydd a wahoddwyd yn arbenig o Forganwg, yn brawf o'r gwasanaeth dirfawr yr oedd wedi ei roddi er purdeb barddas yn ei dalaeth enedigol, trwy ystod cenhedlaeth neu ddwy. Yr oedd Gweddi'r Orsedd, a offrymid gan yr hen fardd-dderwydd hybarch, yn enill edmygedd a pharchedigaeth y llanc.

Ond cyn dechreu'r gwasanaeth, yr oedd dyddordeb brwdfrydig a gorfoleddus wedi ei enyn gan waith y Brenin a'i Lys yn tywys tua'r orsedd, mewn urddas a rhwysg, y newydd-waredig Elphin, "mab Gwyddno ab Gerfynion, ab Dyfnwal Hen," gyda'i briod hardd, yr Arglwyddes Eurgain. Dyrchafai'r dyrfa floeddiadau o longyfarchiadau gwresog, y rhai a adnewyddid yn ddiball ddidor tra y dychwelai'r orymdaith frenhinol i'r man cyfarfod, adnabyddus i bawb, lle y cydgyfarfu y brenin, ei gynghoriaid, a'i wahoddedigion, a'r beirniaid dyeithr penodedig, i benderfynu teilyngdod cydmariaethol yr amryfal gyfansoddiadau a'r cyflawniadau ohonynt.

Testyn y brif gystadleuaeth, yr hon oedd i benderfynu a oedd rhywun a haeddai fod yn Brifardd Brenhinol, fel olynydd i Heinyn Vardd, ac os oedd pwy fyddai y nesaf—y testyn ydoedd

dadganiad o gyfansoddiad gwreiddiol, mewn mydr telynegol, fel cydnabyddiaeth o ragoriaeth yr hwn oedd wedi llenwi swydd Bardd y Brenin am gyfnod mor faith, a'r hwn oedd yn awr ar ymddiswyddo.

Ond yr oedd amryw gystadleuon eraill, mewn dysg, cerdd a llên, i flaenori ac i ddilyn y brif gystadleuaeth.

Un bardd clêr, oedd yn adnabod Taliesyn wedi ei gyfarfod yn mhalas Elphin, a ofynodd iddo:

"Pa fodd nad wyf yn dy weled di yn y cylch cystadleuol, fel ag i synu llên a lleyg â grym a disgleirder dy athrylith?"

"Ni ddaeth fy amser i eto," atebai Taliesyn. "Ac heblaw hyny, er fy mod unwaith wedi bwriadu cystadlu, yr oedd hyny yn cael ei fwriadu gyda'r unig amcan o geisio cyrhaedd y nôd aruchel o ryddhad fy nghymwynaswr a'm noddwr, Elphin ab Gwyddno, o garchar yr oedd ei fawrhydi, Maelgwyn, mewn amryfusedd a than rym dichellion gwŷr maleisus, wedi gorchymyn ei fwrw iddo a'i gadwyno ynddo. Ond yn awr, gan fod Rhagluniaeth wedi trefnu ffordd arall i gyflawni yr hyn a ddeisyfwn i, fel yr wyt newydd ganfod, nid oes angen mwyach am i mi ymyryd; ond äf a gwasanaethaf fy arglwydd a fy arglwyddes, gan geisio gwylio a deall ewyllys y Nef. Heblaw hyny, y mae rhyw ysbrydoliaeth brophwydol yn sibrwd o fy mewn ddydd a nos yn ddiweddar fod yr Iôn yn darbod Ei Hun ryw athrylith wyrthiol i'r swydd sydd ar ddyfod yn wâg, a mawr yw fy awydd am gael gweled y rhyfeddod y credaf sydd ar gymeryd lle!"

Er mor egwan a methianus ydoedd Heinyn Vardd, efe a lwyddodd i fyned i neuadd ymdrechfeydd awen a chelf, a hyny yn niwyg ardderchocaf ei swydd o Bencerdd a Phrif-fardd y Brenin. Canfyddid ef yn ymlusgo trwy gyntedd yr adeilad hardd, gyda'i delyn fechan draws ei wàr, yn grogedig wrth y llinyn sidan a amgylchai ei wddf.

Cymerodd Heinyn ei sedd mewn dirgelfa

fechan oedd wedi ei gwneud yn y mur o bwrpas iddo ef a'i gyffelyb, ac yno yr arosai gan ddisgwyl cael gwybod canlyniadau'r cystadleuon oddimewn y neuadd fawr, heb ei fod yn gallu gweled na chael ei weled gan neb o'r cystadleuwyr.

Yr oedd yr olygfa yn y neuadd yn ddigon i darfu a digaloni y mwyaf gobeithlawn, difraw, a beiddgarol o'r ymgeiswyr ieuainc. Yno yr eisteddai ei Fawrhydi y Brenin yn ngwydd yr holl dyrfa, wedi ei wisgo yn urddwisgoedd mwyaf rhwysgfawr uchawdurdod ei unbenaeth, tra yr oedd urddasolion y llys, yr eglwys, a'r fyddin yn eistedd mewn gwahanol bellderoedd neu agosrwydd o amgylch y teyrn ; penaethiaid pentrefi, trefi, a dinasoedd ; marchogion yr amryfal urddau, a chymrodorion cenedlaethol yn holl ysblander eu hurddwisgoedd addurnedig ; a thyrfa o wyddfodolion o raddau îs yn llenwi'r holl wagleoedd oddiamgylch, tra yr oedd y cylch eang yn y canol wedi ei neillduo a'i gadw i'r rhai a fwriadent gystadlu yn yr amrywiol ganghenau yn ol y cynllun.

Yr oedd gan Heinyn Vardd negesydd yn ei wasanaeth ef ei hun, yr hwn oedd, y diwrnod hwnw, i frysio ato i'w guddfa yn y mur, gyda phob newydd am ddaill pob cystadleuaeth.

Dechreuodd y cystadleuon. Aeth amryw drosodd heb i'r hen Brif fardd arddangos nemawr ddyddordeb ynddynt nac yn yr hyn a hysbysai ei negesydd iddo yn nghylch y canlyniadau.

Yn mhen enyd, rhedodd y negesydd at ei feistr, a dywedodd mewn cyffro :—

"Y mae cystadleuaeth y delyn wedi ei phenderfynu. Ai ni chlywodd dy anrhydedd mo'r bloeddiadau o gymeradwyaeth a ymdorent drwy enau allan o eneidiau y bobl ?"

"Pwy oedd y buddugwr ?" gofynai'r hynafgwr, mewn dull oedd braidd yn argoeli difaterwch.

"Rhyw wr ieuanc glanwedd a theg, enw yr

hwn yr ymddangosai pawb, oddieithr dy gyfaill, y Tad Tudwal, yn anwybyddus ohono. Ond y mae ei fedrusrwydd yn rhyfeddol. Y mae'r beroriaeth felodaidd yn llifo o'i offeryn fel pe na fuasai dim ond yr awelon eu hunain yn cyffwrdd y tànau, gan mor hydwyth a chwim y mae ei fysedd yn symud."

Dechreuodd y Pencerdd arddangos ychydig ddyddordeb yn awr, am y waith gyntaf, ac efe a sylwodd mewn tôn haner pruddaidd,—

"'Da! Diolchaf nad yw'r brenin yn debyg o fod mewn eisiau am delynor, deued a ddelo. Ond, clyw! Dyna floedd arall o gymeradwyaeth. Dos a chais gyfaill yma a all adrodd y testyn a'r daill."

Ufuddhaodd y negesydd yn gyflym, a danfonodd feirniad ac adroddwr cywir a chywrain, tra yr arosai ei hun yn y neuadd i wylied y gweithrediadau nesaf; ac felly y gwnaethant o hyny hyd y diwedd—y ddau yn cynorthwyo eu gilydd.

"Y maent wedi penderfynu'r gystadleuaeth ar yr ail o'r prif destynau," ebai'r negesydd newydd; "nid amgen y buddugol am adrodd 'Ddewrion, i'r Frwydr' -y cyfansoddiad yn gynyrch gwreiddiol yr adroddwr ei hun."

"A phwy yw'r buddugwr?" gofynai Heinyn drachefn.

"Yr un athrylith ag oedd wedi gwefreiddio pawb gyda'r beroriaeth ar y delyn eisoes. Fel yn nghystadleuaeth y delyn, felly yn hon—yr oedd pawb heblaw'r Tad Tudwal yn ymddangos yn gwbl annghyfarwydd â'i enw; ond yr oedd yr hen fynach ac yntau yn deall eu gilydd yn berffaith. Ond gan nad pwy ydyw na pha beth yw ei enw, y mae yn rhywun sydd a'i alluoedd yn ddigon i gymhell dyn i ddatgan ei fod yn haner ysbrydoledig. Y mae ei lais fel cloch arian pan fyddo'r dernyn yn dyner; ac yn nerthol fel taran pan fyddo yn cynrychioli neu yn darlunio'r mawreddog neu'r ofnadwy. Efe a ruthrodd i mewn i'w bwnc fel rhyfelwr wedi ymarfogi i frwydr, gan chwalu o'i flaen bob

meddwl am feirniadaeth—bob bwriad i rwgnach neu wrthwynebu. Yr oedd ei lygaid yn ymenynu, ei ruddiau a ymfflamient; a phan yn galw i'r gâd, yr oedd ei lais yn diaspedain fel clangiad udgorn rhyfel. Yr oedd yr effaith ar y dyrfa yn aruthrol. Hen ryfelwyr a neidient ar eu traed fel arwrolion yn nghanol nwyd ieuenctyd, yn dyheu am ruthro i dewdwr y frwydr ffyrnicaf; cadfridogion, oeddynt wedi bod yn brif arwyr ymladdfeydd heb rif, a chwyfient eu breichiau a'u penorchuddion fel pe o newydd yn dirgymhell ac yn dangos y ffordd i'w catrodau enill caer a gwasgaru gelyn; hyd yn nod ein dewr filwrfrenin ei hun a ysgydwai ei deyrnwialen fel pe mai gwaewffon oedd yn ei law."

"Yr wyf yn rhyfeddu fod ei enw yn anadnabyddus," ebai yr henafgwr, gan gymeryd dyddordeb amlwg yn y cymeriad hynod hwn. "Pa beth a dybi di yw ei oedran?"

"Y mae yn anhawdd barnu," atebai y negesydd; "oblegyd y mae tuhwnt i anmheuaeth fod gorlywodraeth y meddwl ac angerddolrwydd y myfyrdodau wedi effeithio ar argraphiadau y gwyneb ac ysgogiadau y corph; ond gallwn anturio barnu nad yw ond prin wedi cyrhaedd oedran digonol i gael ei ystyried mewn oedran tuhwnt i'r hyn a ystyrir yn eiddo llanc."

"Druan o fy machgen mud a byddar!" ebai Heinyn. "Gwelais arwyddion o gyffelyb athrylith yn ei drem ac ar ei wynebpryd yntau! Canfyddais dân yn fflachio fel mellt o'i lygaid fel ag i ddynodi tanbeidrwydd y teimladau a'r syniadau o'r tufewn, nad oedd eisiau ond tafod a llais i'w llefaru! Ond, ni wiw grwgnach: rhaid ymostwng i drefniadau yr Iôr a cheisio ymfoddloni!"

Yn ystod yr ymddyddan cydrhwng Heinyn Vardd a'i ail genhadydd, yr oedd y gystadleuaeth fawr am wobr fwyaf anrhydeddus yr oesau —yn neillduol felly am mai hon oedd yr unig un o fewn cof, yn Ngwynedd o leiaf, am yr anrhydedd o fod yn Bencerdd a Phrif-fardd Brenhinol,

yn gymaint a bod y swydd yn etifeddol, ac etifeddion wedi ei llenwi er's cyn cof.

Dyma floedd arall yn dirgrynu nenfwd y neuadd gan ei nerth yn taro ar glyw yr hen brif-fardd, a'i negesydd cyntaf yn sefyll ger ei fron yn mhen munud neu ddau.

"Pa beth ydyw'r newydd yn awr?" gofynai Heinyn Vardd, gan arddangos arwyddion o goll hunanlywodraeth anarferol iddo ef.

Bu'r negesydd hwn, gan ddyfnder ei deimladau a thrydaniaeth ei gyffrawd, yn analluog am enyd fèr i ateb ei feistr awyddus, a dirfawr oedd y pryder yn nghudd-ystafell hen fardd y brenin.

---

## PENNOD VIII.

Wedi i negesydd cyntaf Heinyn Vardd gael ei adferu i radd o hunanfeddiant, gofynodd a dywedodd yr henafgwr drachefn,—

"Pa newydd a feddi? Y mae'r pryder hwn bron yn annyoddefol."

"Purion. Y mae gan dy anrhydedd bob rheswm dros fod yn foddlawn ar ganlyniad y gystadleuaeth fawr olaf, yr hon hefyd a derfynodd yn ffafr y llanc rhyfedd sydd wedi llwyr gyfareddu'r gwyddfodolion a'r beirniaid gydag ysplander ei athrylith, yn gystal a'r ffaith nad oes neb eto, eithr y Tad Tudwal, yn ymddangos eu bod yn ei adnabod, er fod llun ei gorph yn cael ei gydnabod yn gynefin i bawb."

"Ond," ychwanegai Heinyn Vardd, "paham y dywedi fod genyf *fi* bob rheswm dros fod yn foddlawn ar ganlyniad y gystadleuaeth fawr hon? Y mae yn wir y dylwn yn fy *nheyrngarwch* yn gystal ag yn fy *ngwladgarwch* deimlo yn foddlawn, ac hyd yn nod yn ddiolchgar

oblegyd nad yw yn debygol y caiff y wlad, y genedl, na Brenin Gwynedd, fod mewn angen am ragorach pencerdd a phrif-fardd yn olynydd i'r un sydd yn awr ar fedr rhoddi'r anrhydedd i arall, er mai nid boddhad digymysg a rydd y syniad fod yr holl anrhydedd i ddyfod i ran mab i ryw estron nas gwybydd neb eto pwy y gall fod."

"Paham y dywedais hyny," atebai'r negesydd, "ydoedd hyn: Un peth a barai syndod cyffredinol ydoedd, fod y gwr ieuanc, gan nad pwy ydyw, yn profi ei hun mor gyfarwydd â phob rhinwedd a berthynai i'r gwrthrych y cenai ef arno. Hawdd y gallai dy anrhydedd fod yn foddlawn ar y fath edmygedd clodforus. Ni chlybuwyd erioed o'r blaen ganmoliaeth mor wylaidd a llednais, mor naturiol a chywir, ac mor drwythog o deimladau goreu y natur ddynol. Effeithiai ar ei wrandawyr hyd ddagrau; ac er hyny, yr oedd ei iaith mor rydd oddiwrth bob addurn allanol, nes y priodolai'r gwrandawyr y cyfan i dy deilyngdod cynhenid di dy hun, ac nid i hyawdledd na chelfyddyd yr hwn a genai dy glodydd."

Erbyn hyn, yr oedd y dyrfa yn ymwasgaru wedi cael hysbysrwydd eu bod, yn ol defod a rhaith, i gael un datganiad arall gan y bardd ieuanc buddugol, oddiar yr orsedd, cyn machlud haul, a bod y datganiad hwnw i gael ei wneud ganddo gyda gwasanaeth telyn hybarch Heinyn Vardd, yr hon hefyd oedd i ddyfod iddo yn feddiant yn rhinwedd ei swydd.

Tra'r ymwasgarai'r gynulleidfa, arweiniodd y Tad Tudwal yr ymgeisydd buddugol gerfydd ei law, i gell fach gudd yr Hen Bencerdd.

Yr oedd y gwr ieuanc bron wedi ei orlethu gan effaith yr hyn oll yr aeth drwyddo eisoes, ac cfn gwynebu yr hyn y disgwyliai oedd i ddilyn. Yr oedd ei ben yn ymwyro ac yn ymorphwys ar ei fynwes, a chanfyddid fod ei law yn dirgrynu pan yn ei chyfodi i symud ei benwisg, ar ei gyflwyniad i'r Pencerdd Brif-fardd Brenhinol; a bod dagrau yn llenwi ei lygaid yntau, tra yn

dyosgi ei law o'r fodrwy aur a wisgodd cyhyd yn sêl o'i swydd, gan ei dodi ar law ei olynydd ieuanc, ac yn dechreu datod y llinyn sidan wrth ba un yr ymgrogai ei delyn dros ei wàr; ac ebai efe,—

"Fy seinber a gogoned delyn! Buost i mi yn gydymaith a dyddanydd am genedlaeth faith. Y mae heddyw i ni yn ddifrifol ddydd ysgariaeth! Ond y mae fy enaid yn mwynhau'r ymwybyddiaeth fy mod yn dy draddodi i ddwylaw teilwng o'th benafiaeth a'th fri. A thithau, wr ieuanc, cyfod dy ben fel y gallwyf weled gwyneb yr hwn sydd i fod yn olynydd i mi, ac wedi profi ei hun mor deilwng o feddu hen delyn fy nhadau."

Yr oedd yr ymgeisydd buddugol erbyn hyn ar ei liniau o'i flaen, gyda'i ben yn parhau i bwyso ar ei fynwes ymdonog, tra yr oedd ei gorph yn cael ei ysgytio gan rymusder ei deimlad, a'i ddagrau dylifol yn golchi traed yr hen Heinyn Vardd, yr hwn a ddywedodd, o dan deimladau cymysgedig,—

"Fy nghyfaill ieuanc! Na foed i'th galon garedig dy wneud mor annewr ag i beri i ti wylo fel rhian o'm plegyd i. Cyfod! Fy mendigaid Dad Tudwal, gan mai tydi yn unig sydd yn adwaen ac yn arweinydd i'r cymeriad rhyfedd hwn, erfyniaf arnat ti i'w gyfodi, a pheri iddo ymddwyn fel dyn."

Cydiodd y Mynach yn mraich y llanc, a chyfododd ef i'w sefyll, gan gael ganddo ar yr un pryd ddyrchafu ei ben.

"Pa beth?" meddai Heinyn Vardd, mewn llais yn argoeli dychryn. "Pa beth ydyw hyn? Ai gwallgofi yr wyf o'r diwedd? Fy mhlentyn! Fy Ngwyndav! Annichon yw! Rhaid fy mod o'r diwedd un ai mewn cyflwr o wallgofrwydd neu dan ddylanwad hud a lledrith! Gan nad pa fodd y mae cyfrif am hyn, y mae yn ormod i mi i'w ddal! Gyfeillion, rhoddwch i mi eich dwylaw—cynorthwywch fi—yr wyf bron a suddo."

Nis gallai Gwyndav gelu ei gyfrinach yn hwy: Ond llwyddodd i gadw rhag ei dad bob arwydd o gyffro, tra yn estyn ei freichiau yn dawel a phwyllog, ac yn dywedyd, gyda gwên nefolaidd ar ei wyneb disgleiriol,—

"'Cydlawenhawn, fy nhad! Dy fab—dy blentyn — a fedd y fraint o'th gyfarch di. Amser yn ol, gwrandawodd y Nef fy ngweddi dlawd, gan rasol ganiatau i mi fy llafar a fy nghlyw; a myfi a gedwais y gyfrinach fendigaid oddiwrthyt ti cyhyd yn unig oherwydd y gobaith o gael cydfwynhau dedwyddwch y fath ddydd disgwyliedig a heddyw. Ac wele, daeth y dydd! Y mae fy ngwynfyd yn awr yn gyflawn 'dan nawdd Duw a'i dangnef!'"

Gyda drylliog gri o orfoledd, ymdaflodd y Prif-fardd ar wddf ei fab, a thra yr oedd yr edrychwyr yn ymnesu o amgylch, er mwyn cydymlawenhau â'r perthynasau gwynfydus, llefarodd yr henafgwr,—

"Digon yw hyn i mi! Trugaredd di-ddiwedd fedd Iôr! Cyflawnwyd fy rhan is y rhôd, a boddlawn yn awr ymadawaf â'r byd! A thy dithau, Ddofydd, o'th anfeidrol rad, ryglyddaist imi fraint fwy nag a ddisgwyliais nac a haeddais, ac yr wyf yn teimlo yn foddlawn a pharod ddyfod i dy fynwes dragwyddol! Tydi, fy Nuw, yn unig a haedda, ac a fêdd, ein heneidiau ni ein dau, gyda holl adnoddau ein mawrygedd, ein moliant, a'n cariad! Gweddiasom arnat, a Thydi a wrandewaist ein gweddiau gostyngedig, ac yn awr, nyni, yn wylaidd, a'th folwn, y Tad o anfeidrol fawredd!"

Ar derfyn ei fawl-weddi, gadawodd yr henafgwr i'w law orphwys ar ysgwydd ei fab, a disgynodd dystawrwydd dwfn a thynerfwyn ar bawb o'r gwyddfodolion.

Tarfwyd ar y dystawrwydd hwnw gan ddyfodiad cenad o'r llys brenhinol yn eu gwysio i'r Orsedd, fel y cyflawnid y gyfran olaf o waith y dydd, tra yr oedd yr haul eto yn ei ogeniant, er yn dynesu mewn mawredd i fro ei fachludiad.

Cynorthwywyd Heinyn Vardd i gyrhaedd yr Orsedd, ac yn nghanol llongyfarchiadau gwresog y dyrfa awyddus, yn cynwys ei fawrhydi Maelgwyn Gwynedd, ei frenhines, ei lys, prif bendefigion y deyrnas, beirdd o bob gradd, a hufen poblogaeth y wlad, dodwyd yr hen Bencerdd Brif-fardd Brenhinol i eistedd am y waith olaf yn sedd anrhydeddus ei swydd.

Wedi i'r urddasol Fardd Dderwydd o Forganwg gyflawni rhai gorchwylion arweiniol, efe a anerchodd y dyrfa, gan ddywedyd,—

"Rhyngwyd bodd fy uchafiaid a fy mrodyr fy ngwahodd yma i'r Arwest Farddol ogoneddus sydd ar derfynu; ac y mae genyf yr anrhydedd o fod yn offeryn er gwneuthur y terfyniad yn deilwng o'r hyn oll a'i nodweddodd hyd yn hyn —nid amgen cymydogaeth dda, teyrngarwch, ac awengarwch—trwy arwisgo'r ymgeisydd buddugol â holl arwyddfeydd ei hawl i'r urdd y mae efe, mor amlwg, wedi ei dynghedu gan y Nef i fod yn addurn iddi. Y mae yr hyn a ymddangosai fel yn peri rhyfeddod i bawb, sef pwy a allasai'r athrylith newydd fod, a'r hwn y teimlid ei fod wedi disgyn i'n plith fel llucheden o'r nen, wedi cael ei gyflawn egluro i mi. Ac yn awr, bydded hysbys i chwi oll, nad yw gwrthrych ieuanc ein hedmygedd yn neb amgen na'r hwn a fu o'i febyd yn wrthrych serch pawb, yn faban a llanc mud a byddar, a'r hwn, ar derfyn yr ŵyl, a fendithiwyd â'i holl alluoedd trwy wyrth! Ac yn gymaint a bod rhaith yn hawlio prawf arall, a hyny o'r Orsedd, o gywirdeb y dyfarniad o gymhwysder y mab a fydd yn Bencerdd a Phrif-fardd Brenhinol nesaf i'w sedd, ni a gawn hyny yn awr gan Gwyndav ab Heinyn Vardd, a hyny tra y gallo gyflawni cyfran olaf yr Arwest 'yn ngwyneb haul, llygad goleuni.'"

Estynwyd i Gwyndav hen delyn ei dad a'i dadau, ac fel yr oedd ei fysedd yn ymredeg hyd dànau y delyn megys pe o dan anwysiad greddf, goreurid yr Orsedd a'r fro gan belydrau yr haul, yr hwn, fel y tybiai'r gwyddfodolion, oedd yn

fwy disglaer nag erioed ; a Gwyndav, o dan ddylanwad pelydrog ac awen-gynhyrfiol hwnw a ganodd ac a ddatganodd yr alaw sydd wedi ei thrysori gan genedl y Cymry i fod mewn bri tra y gwerthfawrogir peroriaeth Gymreig ; a chyfunodd â'r alaw anfarwol hono—o'i haralleirio i'n Cymraeg ddiweddar ni—yr anerchiad canlynol, yr hyn a fu yn derfyn ac eglurhad ar yr WLEDD A'R WYRTH :—

I'R HAUL.

HAWDDAMOR, tydi a ymolwyni uwchben,
A thithau'n amgylchog fel tarian fy nhadau !
O ! huan, o ba le y tardd dy belydrau—
Dy ddihysbydd a thragywyddol wawl ?
Ti a ddeui o'th babell yn dy brydferthwch ofnadwy,
A rhagot ymguddia y sêr yn y nen ;
Y lloer, yn welw ac oer,
Ymsudda yn nyfnder y dòn ;
Ond, huan, tydi, mewn mawrhydi,
Gymeri dy rawd mewn unigedd ;
A phwy a all fod yn gydymaith i ti ?
Cedyrn dderi'r mynyddoedd a gwympant,
Hwythau'r mynyddoedd gan henaint a rychant ;
Ond tydi ydwyt bythol yr un,
Ac yn llawenychu yn nisgleirdeb dy rawd.
Pan fo'r byd yn ddiwawl gan dymestloedd,
Pan fyddo taranau yn rhuo,
A phan fyddo y mellt yn gwibio,
Tydi a edrychi yn dy harddwch
Trwy gaddug mellt-feichiog gymylau,
A chwerddi ar lid yr ystorm.
Ond, ysgatfydd, er hyn, nad wyt tithau
I barhau oddieithr dros dymhor,
A bod terfyn i dd'od i'th flynyddoedd.
Ti gei gysgu o fewn dy gymylau,
Pan mwyach ni'th ddawr lais y boreu.
Ymddyrcha, gan hyny, O ! huan,
Tra'th amser, yn nerth dy ieuenctyd,
Ac yna dychwela yn dawel i'r gorwel,
Gan fachlud mewn urddas yn dawel !"

14.—**"Christmasia,"** gan DAVID OWEN *(Brutus)*. "Bywgraffiad campus o'r enwog CHRISTMAS EVANS, gan ysgrifenydd doniol a'i hadwaenai yn dda."

15.—**J. Ceiriog Hughes:** Ei Fywyd, ei Athrylith, a'i Waith. (Gyda Darlun cywir ohono, ac o Benybryn, Dyffryn Ceiriog, lle y ganwyd ef). Gan LLYFRBRYF.

16.—**Yr Oriau Olaf:** gan JOHN CEIRIOG HUGHES, sef Caneuon, Rhiangerddi, &c., na chyhoeddwyd o'r blaen, ac wedi eu cymeryd o lawysgrifau y Bardd

Y DDAU LYFR UCHOD wedi eu rhwymo yn nghyd mewn Llian. Pris 2s. 6ch.

17.—**Llyfr y Tri Aderyn.** Dirgelwch i rai i'w ddirnad ac i eraill i'w watwar. Gan MORGAN LLWYD O WYNEDD. Un o'r llyfrau hynotaf yn yr iaith Gymraeg. Gyda NODIADAU AR FYWYD YR AWDWR, gan y Parch. OWEN JONES, B.A., Liverpool

18.—**Llythyrau Goronwy Owen.** Wedi eu manwl gydmaru â chopïau mewn ysgrif, yn nghyda rhai llythyrau nad oeddynt mewn casgliadau blaenorol, ac ychydig eraill wedi eu cymeryd o ysgriflyfrau. *Yn y wasg.*

---

A NEW (fac-simile) Edition of the Renowned Works IOLO MANUSCRIPTS, being a selection of Ancient Welsh Manuscripts, in prose and Verse, from the collection made by EDWARD WILLIAMS *(Iolo Morganwg)*; and intended by him as materials for a New History of Wales. With ENGLISH TRANSLATIONS and Notes by his son, TALIESIN WILLIAMS *(Ab Iolo)*, of Merthyr Tydfil. Price, **21s.**

Y MABINOGION CYMREIG, sef Chwedlau Rhamantus yr Hen Gymry (fel yr ysgrifenwyd hwynt—yn yr Hen Gymraeg, ac mewn Cymraeg ddiweddar). Wedi ei rwymo mewn llian hardd, **17s.**

TREBOR MAI, Prif Englyniwr Cymru—Ei Waith Barddonol; yn cynwys ei Englynion, Caneuon, Cywyddau, &c., hefyd Darlun cywir ohono, a'i Fywgraffiad. Pris, 5s.

DAFYDD AB GWILYM,—Ei Waith Barddonol, yn cynwys rhai cywyddau na chyhoeddwyd o'r blaen, cyfieithiadau i'r Saesonaeg o rai o'r darnau goreu; a bywgraffiad o'r Bardd yn Nghymraeg ac yn Saesonaeg. Tan olygiad CYNDDELW. Pris, **10/6.**